Presented to the Historians Office

by Elder Dan Jones,

and furnished by his wife, at his request,
during his absence. Aug 30. 1855

# HANES

# SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF,

O'U

SEFYDLIAD YN Y FLWYDDYN 1823,

HYD YR AMSER YR

**ALLTUDIWYD TRI CHAN MIL O HONYNT**

O'R AMERICA OHERWYDD EU CREFYDD,

YN Y FLWYDDYN 1846.

---

"Gwelwch yn mysg y cenedloedd, ac edrychwch, rhyfeddwch yn aruthrol; canys gweithredaf weithred yn eich dyddiau, ni choeliwch er ei mynegu i chwi."—Habacuc.

"Canys ni wna yr Arglwydd ddim a'r nas dangoso ei gyfrinach i'w weision y prophwydi."—Amos.

---

MERTHYR-TYDVIL:

CYHOEDDWYD, AC AR WERTH, GAN CAPT. JONES.

AC AR WERTH HEFYD GAN LYFRWERTHWYR EREILL.

ARGRAFFWYD GAN J. JONES, RHYDYBONT.

# CYNNWYSIAD.

# RHAGLITH.

---

Anwyl Ddarllenydd,—

Dyma ni yn cymhell arnoch un llyfr newydd etto at yr oll a gyhoeddwyd; ond ni chynnygiodd neb arall erioed i chwi lyfr mor newydd, ac mor rhyfedd ei gynnwysiad â hwn. Yn y llyfr hwn cewch hanes difyrus a gwirioneddol am ddwyfol sefydliad y gyfundraeth hòno a elwir "*Mormoniaeth,*" neu, yn fwy priodol, crefydd *Saint y Dyddiau Diweddaf.*

Digonol yw'r holl gyhoeddi, y pregethu, a'r dweyd sydd drwy ein gwlad yn erbyn y gyfundraeth hon, er profi yr ystyrir hi yn wrthddrych teilwng o sylw cyhoeddus, yr hyn sydd gydradd ag addef mai goreu pa fwyaf a feddwn o'i hanes; ac nid ammheuir ychwaith a'r nad yn gyferbyniol i'r wybodaeth hòno ein galluogir i ffurfio barn gywir am dani; canys gobeithiwn nad oes un dyn yn yr oes oleu hon a foddlona i gymmeradwyo nac i wrthod cyfundraeth a broffesa fod yn ddwyfol, heb roddi iddi arholiad teg o flaen brawdlys ddiduedd.

Dichon rhai pethau yn y llyfr hwn hefyd ymddangos yn fwy anhygoel ar yr olwg gyntaf nag y profa ymchwiliad manylach eu bod. Etto, ddarllenydd hynaws, tystiwn yn ddifrifol mai cyflwyno hanes cywir o'r gwrthddrych dan sylw yw ein prif amcan, a thystiwn ei fod i'w gael yn y llyfr hwn hyd y cyrhaedda yr hanes; ac nid fel y llyfrau a ysgrifenwyd yn ein herbyn, wedi eu sylfaenu ar yr ystoriau a'r chwedlau disail a draethir o ben i ben, ond oddiar y tystiolaethau cywiraf a allem gael, a rhesymau, ffeithiau, ysgrythyrau, a gwirioneddau, a ystyriwn yn anwrthwynebol.

Tystied ein hunanymwadiad yn gadael ein holl fasnach, yr hon oedd yn ennillfawr iawn, a dyfod saith mil o filltiroedd o ffordd, ac yna yn cydio yn gyntaf un yn ein hysgrifell, ac yn anturio ein poblogrwydd a ffafr pawb, i ddyrchafu y gyfundraeth ddwyfol hon, ynghyd â chymmeriad ei sylfaenwyr, o'r cyflwr iselaf o warad-

wydd, gan barhau i'w glanhau a'u golchi oddiwrth ystaeniadau a fwrid arnynt gan eu gelynion, fel y trinir *diamond*, nes eu cael erbyn hyn yn deg a hardd yn ngolwg miloedd drwy'n gwlad. Nid ein gallu ni a ychwanega un pelydr at yr hyn ydyw y grefydd hon eisoes, ond tystied hyn oll mai oherwydd ein bod yn gwybod cynt mai gwirionedd yw y cymhellwn hi mor daer i sylw ein cydgenedl anwyl. Pa ddyben amgen nâ lles ereill a allasai achosi hyn oll? Nid elw yw ein dyben, onide ni buasem yn ei chymhell i dylodion, ac yn rhad. Nid anrhydedd, onide yr ydym wedi colli y ffordd i hyny hefyd. O nage, ddarllenydd hynaws, nid amgen ein dyben nag a hysbyswn, sef, fel y mwynhao ereill y lles a'r bendithion dwyfol a radroddwyd i ninnau, ac a addewir i bob un a ufyddhao i'r gyfundraeth ddwyfol hon. Paham, ynte, nad yw ein tystiolaeth yn gywir yn eich golwg? Yr hyn a welodd y llygaid hyn, yr hyn a glywodd y clustiau hyn, gan lygaid-dystion, ïe, yr hyn a *wyddom* am eirwiredd yr hanes canlynol, a gymhellir i'ch sylw yn y llyfr hwn. Cymmerwch ef yn garedig a diduedd; darllenwch ef drwyddo yn bwyllog, gan weddio am Ysbryd y gwirionedd i'ch cynorthwyo i'w iawn farnu; ac os na chewch foddlonrwydd o'i wirionedd cyn codi oddiwrtho, ewch ac ufyddhewch yn gywir i'r drefn a ddengys; ac yna, os na phrawf Duw ei eirwiredd i chwi drwy ffeithiau digonol, dywedwch mai twyll yw Mormoniaeth, a chydunwn â chwi i'w chyhoeddi felly. Ac o'r ochr arall ynte, y mae y dyn a'i gwrthoda hi a'i phrofion yn ddibrawf yn gwneyd cam â'i enaid ei hun.

Crefwn am gael ein hesgusodi am bob gwallau cyfansoddol neu rammadegol a ddichon fod ynddo; a gweddiwn ar iddo fod yn offerynol i gyfarwyddo pawb a'i darlleno i'r iawn ffordd tua gwynfyd, er eu lles hwy, ac er gogoniant yr Hwn yn unig a deilynga bob mawl. Amen.

# SEFYDLIAD MORMONIAETH.

## PENNOD I.

### GWEINIDOGAETH ANGYLAIDD YN RHESYMOL.

Y MAE yn hollol afresymol i wadu gweinidogaeth angylaidd yn awr, tra yn addef fod yn rhesymol iddynt ddyfod yn y cyn oesoedd at ddynion, megys at y patriarchiaid a'r prophwydi—bwyta ac yfed gydag Abraham, Lot, gwraig Manoah, &c., heb brofi fod gagendor wedi ei sicrhau, fel na allant ddyfod, neu ryw brofion ereill ar y pwnc. Ni welais i neb, hyd yn hyn, o'r rhai a wadant y gwir hwn, yn cynnyg un prawf nac esgus, heblaw nad oes eu heisieu; ac am na ddeuant atynt hwy, ni chânt ddyfod at neb arall; a llefain, "Twyllwyr," "gau brophwydi," "pw, pw!" Dyma ydyw unig lais Traddodiad, fel corn yr helyddwr—yr un *dune* bob amser, nes y mae y cŵn hela i gyd wedi ei dysgu; neu fel ystori y parot—yr hyn a glywo efe bawb yn barablu, a barabla yntau. Addefir hefyd fod angel wedi dyfod at Zachariah, Mair, a llawer ereill o weision Duw, yn y cyn oesoedd. Pwy ond angel a roddes genadwri i Ioan fyned allan i fedyddio? a phaham nas gall angel wneyd yr un peth yn yr oes hon? Addefant fod y rhai a broffesant hyn y pryd hyny, yn bobl eirwir a duwiol, a'u proffes o hyny yn ddigon rhesymol, heb le i neb ddweyd yn amgen; ond dyma y cwestiwn, paham na all fod mor rhesymol i'r un peth fod yn ein hamser ninnau? A ydyw amser yn cyfnewid gwirionedd rhesymol y naill oes, i fod yn gyfeiliornad cableddus mewn oes arall? O na, yr un ydyw rheswm yn mhob oes; ond y mae rhai yn cymmeryd traddodiad ymarferol yn lle rheswm dynol. Mor afresymol collfarnu a lladd Saint y Dyddiau Diweddaf, am eu bod yn derbyn yr ymwelwyr nefolaidd; ac ar yr un amrantiad yn adduruo beddau saint y dyddiau cyntefig, y rhai a laddwyd am yr un peth! ond, meddant, yr oeddynt hwy yn dweyd y gwir, ond nid ydych chwi yn derbyn fel hwynt-hwy. Wel, pa fodd y profir hyny? nid yw'r haeriad yn ddigon i wrthsefyll tystiolaeth resymol cannoedd. Heblaw hyny, onid felly y dywedai y rhai oedd yn cyd-oesi â'r hen saint? Hwy oedd y twyllwyr y pryd

hyny, bob un yn ei fywyd; a'r lleill oedd wedi marw er ys oesoedd, oedd y rhai geirwir, er eu bod yn proffesu yr un peth! A phwy a'n condemniant ni yn waeth am broffesu gweinidogaeth angylaidd, nâ'r rhai oedd er ys ychydig flynyddau yn ol yn credu ac yn proffesu yr un peth, ïe, yn gweddio yn gyhoeddus am dano? Nid oes nemawr flynyddau er pan y dywedai cannoedd eu bod yn clywed y cantorion nefolaidd, yn canu haleliwia yn yr awyr, uwchben eu cyrddau, o Beddgelert hyd derfynau y dywysogaeth; ac nid wyf yn ammau na chredid yr un ystori etto, pe dywedid ar *Green* y Bala; eithr gwylied neb *arall* rhag proffesu hyny. Clywais bregethwyr yn haeru o'r pwlpudau uwchben cannoedd, fod angylion yn dyfod â bendithion o'r nef yn awr, ac yn cyfeillachu ag ambell hen wreigan yn ei bwthyn, &c.; eithr, os proffesa ereill yr un peth, gwae iddynt: "twyll i gyd," meddant, A phan ofynir iddynt am y modd y gall y broffes o'r peth fod yn dwyll yn y naill, heb fod felly yn y llall, "O, nid ydym ni (meddant) yn meddwl ein bod yn gweled angylion â'n llygaid o gnawd, ond rhyw ymddangosiad dirgelaidd ydyw," fel y "llef ddystaw fain:" ac onid yw hyn yn ffolineb o'r fath ffolaf, ïe, yn wrth-ddywediad? Pwy a welodd angel erioed, ac etto heb ei weled? A pha fodd y gallai neb weled angel ond â'u llygaid? Dyma y modd y gwelai y saint hwynt yn y cyn oesoedd; byddent hwy yn edrych yn eu llygaid hwythau, yn llefaru wrthynt, yn bwyta ar yr un ford, yn cyd-gerdded law yn llaw, ac weithiau yn ymdrechu gyda hwynt, nes cael prawf o'u cryfder. Y mae cenedl yn awr yn fyw a dystiant y gwirionedd o hyn, gan na fwytant "gysswllt y forddwyd," o goffadwriaeth am yr anaf a gafodd eu tad, yn ei ymdrech ag angel; ac er na welai ereill hwy ar y pryd, nid yw hyny yn profi nad oeddynt yno, ond prawf mai dawn o rodd Duw yw gweinidogaeth angylaidd; ac os nad oeddynt yno, pa fodd y gwelent hwynt? os nad oeddynt yn eu gweled, twyllwyr oeddynt am haeru hyny! O na, nid rhyw *witchcraft* a arferai y saint cyntefig, mwy nâ ninnau, ond angylion a welent pan ddywedent hyny, sef personau o fydoedd ereill, o amrywiol raddau; a'r achos na welai ereill hwynt oedd, am nad oeddynt wedi cael tynu y gorchudd oddiar eu llygaid, drwy dderbyn y ddawn hòno; ac hyny, efallai, am nad oeddynt mor dduwiol â'r lleill, neu am nad oedd cenadwri y cyfryw angel atynt hwy yn bersonol. Y mae yn gwestiwn, pa un a feiddia un angel amlygu ei hun i neb, heb ganiatâd; ac wedi hyny, a ganiateir iddo ymddangos i neb ond i'r hwn y danfonir ef atto, sydd ammheus, oherwydd "*gweision* gwasanaethgar ydynt hwy." Y maent yn ddeiliaid cyfreithiau yn eu cylchoedd, ac nid ydynt yn dyfod ar negeseuau gwael ac afreidiol, er boddio llygaid na mympwy dynion. Gwelir mai gwrth-ddywediad yw, fod un yn gweled angel, ac etto heb ei weled, ond ei weled yn ddirgelaidd heb lygaid ei gnawd.

Y mae yn afresymol gwadu gweinidogaeth angylaidd yn yr oes hon; ac y mae y cyfryw a'i gwadant yn addef eu hunain yn ddynion drwg, oherwydd y maent yn addef fod y rhai oeddynt euog o'r un gwadu yn ddynion drwg yn mhob oes flaenorol. Ni phroffesodd y Saint weled angel erioed, debygaf, heb dderbyn yr un condemniad; a pha fwyaf y sêl dros grefydd y tadau, pa hiraf y wyneb, ac amlaf y synagogau, a meithaf y rhith weddiau, creulonaf y ddedfryd bob amser. Beth a

enynodd lid y gau brophwydi a'r gau athrawon yn fwy yn erbyn y patriarchiaid, y prophwydi, a'r saint, yn mhob oes, nâ hyn. Ystyria y gelynion hyn yn gabledd yn erbyn eu Duw, ac yn sarhad ar grefydd eu tadau; haws ganddynt lyncu camel nâ chredu hyn, ac nid oedd dim i'w wneyd ond eu lladd, os na thawent â son am eu hangylion, eu dadguddiadau, a phob peth yn wir, a'r nad oeddent hwythau yn eu meddu. Os cydunent â hwynt i "wadu ei grym hi," cerddent yn llaw-law â hwynt yn burion; ond, "ni allwn ni beidio a thraethu y pethau a welsom, a glywsom, ac a deimlasom" yw amddiffyniad cenadon Duw yn mhob oes, pe costiai eu traethu eu bywyd iddynt. Felly y bu gyda Zecharias; lladdwyd ef yn y deml. Cenadwri yr angylion at y bugeiliaid a enynoddd genfigen Herod, i ladd yn greulon gannoedd o fabanod diniwed. Pan y dywedodd Stephen iddo weled Iesu Grist yn eistedd ar ddeheulaw ei Dad, dyna gawod o geryg ar ei ben. Gwrandawai crefyddwyr yr oes ar Paul yn dweyd ei ystori yn burion, hyd iddo ddweyd ei fod wedi gweled angel, a dyna ddigon; dyna ei fywyd ar ben o'u rhan hwy; tyngasant, na fwytaent fwyd nes ei ladd. Gwrandawai y torfeydd ar Grist yn burion hyd oni wnai wyrth, neu gyfeirio at ei anfoniad o fyd arall; ac yn y fan y deuai y geiriau o'i enau dihalog, dyna bawb â'i gareg yn ei law. Pe buasid yn gofyn iddynt, onid oeddynt yn credu y prophwydi, dywedasent y byddent foddlon i farw mewn amddiffyniad i'w tadau duwiol; a phan ofynir i'r oes hon, onid dynion drwg oeddynt hwy, er eu proffes fawr? O, ïe, meddant, gwaeth nâ'u tadau. Am ba beth? Onid am anghredu eu cyd-oesolion duwiol, a'u herlid? Wel, ddarllenydd hoff, gwylia rhag mai "ti yw y gwr" sydd yn "cyflawni mesur dy dadau," yn yr oes hon; os felly, "pa fodd y diengi di rhag barn uffern?" Er cymmaint sydd o esiamplau yn yr ysgrythyrau yn profi yr afresymoldeb o erlid am y peth hyn, felly y gwna y plant ar ol y tadau, a phlant eu plant ar eu hol hwythau. "O na baent ddoethion, na ddeallent hyn!"

Y mae yn afresymol i'r rhai a broffesant fod yn blant i Dduw yn y naill oes, wadu gweinidogaeth angylion Duw i'w blant mewn oes arall, a phroffesu ei fod ef yn anghyfnewidiol! Nid yw efe dderbyniwr wyneb, ond yn mhob oes y rhai a weithredant gyfiawnder sydd gymmeradwy ganddo; canys y mae rheswm yn dweyd fod hyny yn wrthddywediad, ac mor anmhosibl i fod ag a fyddai i dad naturiol, a fyddai ganddo gynnifer o feibion yma a thraw drwy'r byd yn ei wasanaethu, ymweled â, neu anfon cenadon at y naill, ac heb anfon gair na chenad byth at y lleill, a fyddent yn ei wasanaethu fel hwythau. Byddai y fath dad â hwn yn dderbyniwr wyneb yn ngolwg pawb; felly, ynte, y rhaid fod y llall, os na ddenfyn ei angylion â'r genadwri at y brodyr ieuengaf yn yr oes hon, fel y gwnai at eu brodyr henaf yn y cyn oesoedd. Iaith rheswm yw hon. Ond, meddant, erbyn hyn, pe byddem ni mor dduwiol â'n brodyr hynaf, caem ninnau gwmni angylion fel hwythau. Ac yn wir, rhaid addef hyn yn awr, neu fyned i waeth dyryswch: os addefir hyn, hyny fyddai diwedd y ddadl, drwy addef gweinidogaeth angylaidd yn rhesymol yn yr oes hon; canys y rhesymoldeb o'r pwnc, ac nid y ffaith, oedd mewn dadl.

Y mae digon wedi ei ddweyd am y tro hwn er profi nad *rheswm*, ond *traddodiad* yr oes, sydd yn gwadu dyfodiad angylion yn ein hamser

ni ; ac y mae rheswm yn mhob dull, ond iddo gael tegwch, yn profi y cyssondeb o'r gosodiad ; a phob ymarferydd rheswm a greda dystiolaeth gysson am ddyfodiad angel i'n daear ni, yn awr fel cynt, ac a ymddwyn yn gyfatebol.

Yn nesaf, pwyswn y gosodiad hwn yn y glorian ysgrythyrol: os ceir yn brin yno, gwylier rhagddo—ni ddymunwn i neb ei gredu ; ond, o'r ochr arall, os deil y pwysau yn y dafol gywir hon, hyderaf y bydd yn dda gan bawb ei gredu a'i dderbyn.

---

## PENNOD II.

### GWEINYDDIAETH BRESENNOL ANGYLION YN YSGRYTHYROL.

Y TYST cyntaf a brawf fod angel i ddyfod i'n daear ni, mor ddiweddar â'r oes hon, ydyw Ioan. Pan yr oedd efe ar ynys Patmos, "ar ddydd yr Arglwydd," ac "yn yr Ysbryd," tua'r flwyddyn 96, O.C., "dangosodd yr Arglwydd iddo y pethau a fyddent *ar ol hyny.*" A'r peth mwyaf nodedig oedd y "bwystfil" rhyfeddol oedd i godi, ac i "ryfela â'r saint, nes eu *gorchfygu* hwynt," drwy eu lladd. Yna byddai teyrnas Dduw, sef yr eglwys apostolaidd, yn myned i'r diffeithwch am amser, amseroedd, a hanner amser, yn mha dymmor ni byddai Duw yn awdurdodi gweision i wneyd gwaith drosto. Er y gallai fod yn y byd fwy neu lai o ddynion da, doniol, a moesol, yn ofni Duw, ac yn ei addoli goreu ag y gallent, ac yn gymmeradwy ger ei fron yn ol y goleuni a gawsent ; nid yw hyny yn profi y byddai hyd y nod y goreu o'r cyfryw yn weision anfonedig oddiwrth Dduw, yr hyn beth ni allent fod, oddieithr eu hanfon gan Dduw; "canys nid oes neb yn cymmeryd yr anrhydedd hwn iddo ei hun, oddieithr ei alw gan Dduw, megys Aaron," sef trwy ryw fath o ddadguddiad. A hyn y cytuna Paul—"Pa fodd y pregethant, onis danfonir hwy ?" sef gan Dduw, wrth reswm. A chan nad anfonodd Duw genadwri at ein hynafiaid cyn eu marw, nid ydynt dan gondemniad fel pe y gwrthodasent genadwri oddiwrth Dduw drwy ei anfonedigion.

Ac wedi bod yr holl fyd yn y sefyllfa gymmysglyd a rhanedig a ddysgrifia Ioan, am yr yspaid hwnw o amser, dangosir iddo (yn Dad. xiv, 6) yr anfonai Duw angel i adferu yr hyn a gollasid, sef hawl neu awdurdod effeithiol i bregethu yr efengyl dragywyddol—nid efengyl newydd, ond goruchwyliaeth newydd i bregethu yr hen efengyl, yr hon yw cyfreithiau teyrnas Duw. Drwy y modd yma y derbynient yr awdurdod, nid yn unig i adferu ac i weinyddu ordinadau ei dy, ond i awdurdodi ereill i hyny hefyd. Rhaid addef yr anghenrheidrwydd am hyn, er mwyn cyflawni gwaith mawr y dyddiau diweddaf. Rhaid addef hefyd yr anmhosiblrwydd hyd y nod i'r Hollalluog ei hun, gyda phob parch y dywedaf, anfon gwas byth i wneuthur un dim drosto, heb ddadguddio hyny iddo drwy y naill gyfrwng neu y llall. Yr oedd ganddo amryw ffyrdd i anfon gweision, er dechreuad y byd ; drwy ei lais ei hun, drwy anfon ei Fab, neu drwy ei angylion. Y mae ganddo hawl i ddewis ei ffordd, a'i amser ei hun ; ac er nad yw ei ffyrdd ef yn

boddio dynion bob amser, yn ol ei gynghor a'i bwrpas ei hun y gwna er dywedyd o holl bobl y byd i'w erbyn. Drwy anfon angel y dywed Ioan y dechreuai y gwaith mawr hwn; a chan fod holl dduwinyddion a doethion y cyn oesoedd, er ys canrifoedd, a'r a glywsom am danynt, yn gwadu na ddaeth angel ar y fath genadwri atynt, ofer i ni, na neb o'u holynwyr, haeru yn groes iddynt. Dysgwyliwn, ynte, am gyflawniad o'r brophwydoliaeth werthfawr hon, a byddwn barod i'w derbyn. Gwyddom fod llawer o wahanol feddyliau gan ddynion yn nghylch y brophwydoliaeth nodedig hon, fel am o'r bron bob un arall. Dywed rhai ei bod yn cyfeirio at y Fibl Gymdeithas; ereill, mor addas, mai y Gymdeithas Genadol, neu yr *air balloons*, &c. Rhy faith fyddai olrhain ffrwythlon ddychymmygion dynion ar y peth hwn; a chan fod pawb yn myned ar ol ei esboniwr ei hun, af finnau ar ol Ioan ei hun. *Angel* a ddywed Ioan; a dweyd rhyw beth yn amgen, ydyw, yn ol fy null i o esbonio, "ychwanegu at eiriau llyfr y brophwydoliaeth hon." Y mae prawf cadarn o'r dirywiad y byddai y byd ynddo hyd yr amser hwn, yn ngwaith yr angel yn dyfod o'r nef ar y fath genadwri; a rhaid addef, naill ai yr anghenrheidrwydd am dani, neu ynte fod yr angel yn dyfod ar neges afreidiol. Os byddai gan y rhai a fyddent yn trigo ar y ddaear, naill ai yr efengyl bur, neu yr hawl i'w gweinyddu, yna afreidiol fyddai i angel ddyfod â pheth iddynt o'r nef, ag yr oeddynt yn feddiannol arno eisoes. Y mae gan bob un ei ryddid i ddewis yr esboniad a fyno.

Peth arall sydd yn amlwg yn y brophwydoliaeth hon ydyw, yr amser y deuai yr angel hwn. Y mae yr un genadwri yn ein hysbysu—"Canys daeth awr ei farn ef," sef ar ol i'r efengyl dragywyddol a gyflwynai yr angel hwn i ddynion gael ei phregethu "i'r holl rai sydd yn trigo ar wyneb y ddaear; i bob llwyth, iaith, pobl, a chenedl:" nid ar ol i ryw athrawiaethau ereill gael eu pregethu i'r holl fyd, ond *yr efengyl hon* a ddygid gan yr angel hwn y pryd hyn. Y mae adn. 8 yn profi hefyd mai gwaith mor ddiweddar â'n hamser ni a fyddai, drwy fod yr angel nesaf yn dywedyd, "Syrthiodd, syrthiodd Babilon, y ddinas fawr hòno." Cytuna pob Protestaniad a'r a welsom, mai "mam puteiniaid y byd," fel ei gelwir, yw hon; a gŵyr pawb nad yw hi wedi cwympo hyd yn hyn, ond yn ymwroli fel pe bai am fyw yn dragywydd; ond nid oedd llawer o amser rhwng dyfodiad yr angel a soniwyd gyda'r efengyl dragywyddol, a chwymp Babilon—dim ond digon o amser i drigolion daear glywed, deall, credu, ac ufyddhau i'r genadwri, nid o enau yr angel, ond o eneuau dynion; canys arfer Duw ydyw "rhoddi y trysor hwn (yr efengyl) mewn llestri pridd," yn mhob oes flaenorol. Dyma yw tystiolaeth Ioan am ddyfodiad angel yn yr amseroedd diweddaf. Pe na bai un tyst arall ar gael, y mae y gosodiad yn llawn bwysau yn y dafol ysgrythyrol, cystal â'r un rhesymiadol. Ond, er egluro y peth yn amlycach, gweler Math. xxiv, 31. "Ac efe a ddenfyn ei angylion â mawr sain udgorn, a hwy [yr angylion] a gasglant ei etholedigion ef ynghyd, o'r pedwar gwynt." "Ei etholedigion," anturiaf ddweyd, yw yr Iuddewon crwydredig; a phrofaf hyn etto. "I'w casglu ynghyd." I ba le, tybied, heblaw i'r wlad a dyngodd Duw trwy lw i'w rhoddi i'w tadau. Nid i'r awyr—nid i blaned arall—nid i ddaear amgen nâ hon; canys yma y daw "Mab y dyn," eu Messia, i fod yn Frenin arnynt

byth. Daw ar gymylau y nef, a'i holl saint gydag ef. Nid ar gymylau y nef yr erys efe na hwythau, ond dyna fyddant eu cerbydau i ddyfod "i deyrnasu gydag ef ar y DDAEAR," "am fil o flynyddau." Dyma dystiolaeth Mab Duw ei hun ar y pwnc, a dywed yn eglurach yn adn. 14—"A'r efengyl HON am y deyrnas a BREGETHIR [ni ellid gwneyd hyny heb awdurdod ddwyfol, yr hyn ni ellid ei gael heb ddadguddiad drwy angel, neu rywfodd] trwy yr holl fyd, ER TYSTIOLAETH, ac yna y daw y *diwedd*." Prawf etto, nad at yr oruchwyliaeth a roddodd i'r apostolion y cyfeiria efe yma, canys nid *er tystiolaeth o'r diwedd* y pregethasent hwy hi, ac ni allai fod cyssondeb yn hyny er ys 1800 mlynedd, a'r diwedd heb ddod etto; canys diwedd y byd afluniaidd a phechadurus hwn y sonia efe am dano, a hyny mewn atebiad i gwestiwn ei ddyscyblion a welir yn adn. 3. Ac nid yw adn. 34 yn un rhwystr i hyn ychwaith; os meddylir ei fod, adn. 33 a'i symud ymaith yn y fan, drwy un gair, "pan weloch hyn oll," sef chwi, y rhai a fyddwch byw yn yr oes hòno y cymmerant le ynddi—pan *weloch* hwynt, nid â eich hoes chwi heibio hyd oni chwblhaer oll. Ond, i fod yn fyr, cymharer y ddau dystion geirwir hyn â'u gilydd. "A'r efengyl hon," medd Crist; "yr efengyl dragywyddol," medd Ioan. "A bregethir," medd Crist, h. y., myfi a roddaf hawl drwy ddadguddiad i hyny; "Mi a welais angel," medd Ioan. "I efengylu," "*er tystiolaeth*, ac yna daw y diwedd," medd y naill; "daeth awr ei farn ef," medd y llall. Gwelir fod y ddau yn cydgordio air yn ngair, er profi fod addewidion yn llyfr Duw am ddyfodiad angylion mor ddiweddar â'n hamser ni. Os oes gan ryw un wrthwynebiad i hyny yn hwy, bydded rhyngddo ef â'r Bibl; yr ydwyf fi wedi ei brofi yno, yn ol fy addewid; ac oni bai ofn bod yn rhy faith, deuwn ag amryw dystion ereill i brofi yr un peth. Ond am y tro hwn, awn yn mlaen i chwilio yn mhellach i'r un drych cywir, er cael gweled pa fath bersonau ydyw yr angylion. Wrth fod cymmaint sôn am danynt, efallai, ond cael eu hadnabod yn well, a deall eu natur, eu cyfansoddiadau, a'u gwaith, y bydd hyny yn foddion i ladd peth o'r gwrthwynebiad a greodd rhagfarn yn eu herbyn, ac y boddlonai dynion iddynt gael dyfod i'n plith weithiau ar eu tro, traethu eu cenadwri, a dychwelyd yn ol mewn heddwch. Neu, ynte, cymmerwn rybydd oddiwrth yr hyn a ddygwyddodd yn nyddiau Lot; canys "yr un modd hefyd ag y bu yn nyddiau Lot, felly y bydd yn y dydd y dadguddir Mab y dyn." Diammau fod Lot druan yn pechu yn anfaddeuol yn ngolwg y Sodomiaid, wrth sôn fod angylion yn dyfod i'r ddaear; ond os oedd y broffes o'r fath beth yn eu creuloni yn ei erbyn, gwaeth fyth yr aethant pan yr oedd eu llygaid yn eu gorfodi i gredu gweinidogaeth angylaidd. Ceisiasent eu dinystrio! Rhyfedd, onide, na chredasent ar ol gweled? Nid mor rhyfedd, ychwaith, pan ystyriom nad llygaid ydyw yr arweinyddion goreu i gael Duw; ond ffydd, oddiar dystiolaeth resymol, ydyw'r moddion a drefnodd Efe. "PREGETHU Crist croeshoeledig" oedd y ffordd apostolaidd, ac nid cyhoeddi eu hunain yn feddygon gwyrthiol mawrion i'r byd.

# PENNOD III.

## Y BODAU ANGYLAIDD A'U DYLANWADAU.

YN ol a ddeallwn oddiwrth yr Ysgrythyrau, y mae tri, os nad ychwaneg, o fathau o angylion. 1. Yr arch-angylion y sonia Paul a Judas am danynt, sef yr uchaf mewn awdurdod, a'r cadarnaf mewn nerth. 2. Yr angylion, neu y cyn-saint hyny a gawsant adgyfodiad, ac o ganlyniad ydynt yn bersonau corfforol, neu fel Enoch ac Elias, y rhai a gyfnewidiwyd. Sonir yn Gen. xviii am angylion yn bwyta ac yn yfed gydag Abraham a Lot; ac nid rhyw ffug fwyta a wnaethant, onide i ba le yr aeth y llo, y teisenau, a'r llaeth? 3. Yr angylion a elwir yn "ysbrydion gwasanaethgar;" a phe chwilid yn fanwl, efallai y gellid profi fod y trydydd dosparth hwn o fodau ysbrydol yn cyfansoddi dau ddosparth yn y bydoedd nefolaidd. Dywed y Salmydd ddarfod i Dduw greu dyn "ychydig yn îs nâ'r angylion:" cyssyllter hyn â'r hyn a ddywed Paul yn yr iawn gyfieithiad—"Yr hwn sydd yn gwneuthur, [neu yn anfon] ei ysbrydion gwasanaethgar, ei angylion [cenadon], *yn* fflam, neu *mewn* fflam dân." Gwnelai y cyfryw y pedwerydd dosparth o angylion. Profir yn mhellach fod dosparth o angylion yn bwyta, oddiwrth yr hyn a ddywed Paul—"Nac anghofiwch lettygarwch, canys wrth hyny y lletyodd rhai *angylion* yn ddiarwybod." Dywedir hefyd yn y Salmau, fod dyn yn bwyta bara angylion. Bwytaodd Crist cyfodedig fara, a physgod wedi eu rhostio ar dân a gynneuasai efe ei hun ar làn y môr. Os nad oedd ganddo gnawd ac esgyrn, paham y dywedai wrth Thomas, "Estyn dy law, a dyro yn fy ystlys, a'th fys yn ôl yr hoelion," &c.? Beth sydd amlycach yn y Bibl, nag y fod bodau angylaidd yn feddiannol ar gnawd ac esgyrn, yn bwyta ac yn yfed fel dynion, a chyda dynion; ac os *yma*, paham nad gartref? er na allwn ni nodi eu hymborth yno. Nid yw y gair hwnw a ddywed, "Ni ddichon cig a gwaed etifeddu teyrnas Dduw," yn gwrthdaro hyny; canys y mae gwahaniaeth mawr rhwng dweyd "cig a *gwaed*," a dweyd "cnawd ac *esgyrn*:" a'r gwahaniaeth hwn sydd yn dyrysu meddyliau llawer. Ac er lleied o wahaniaeth a feddylir rhyngddynt, y mae cymmaint ag oedd rhwng Crist wedi adgyfodi â Christ cyn marw, ïe, cymmaint ag a fydd rhwng y "marwol hwn" ag "anfarwoldeb." A chan fod y fath bersonau yn bod, beth fyddai yn afresymol ynddynt, pe cymdeithasent â dynion yn awr megys cynt?

Oddiwrth yr esiamplau hyn, ac ereill a ellid nodi, gwelir fod bodau angylaidd, adgyfodedig—mai y rhai hyny sydd yn dyfod ar negeseuon oddiwrth Dduw at ddynion, ac ysbrydion yn gweinyddu i ysbrydion. Syrthiodd Ioan wrth draed un angel, ar fedr ei addoli, ond dywedodd yntau wrtho, "Gwel na wnelych hyn; CYD-WAS ydwyf i ti, ac i'th frodyr, y rhai sydd ganddynt dystiolaeth Iesu. Addola Dduw; canys tystiolaeth Iesu ydyw ysbryd y brophwydoliaeth." Gellid meddwl oddiwrth y geiriau hyn, yn enwedig y Saesneg o honynt—"*One of thy brethren the prophets*," y gallai yr angel hwn fod yr hen Ddaniel dduwiol, neu ryw un o'r prophwydi a adgyfodasai gyda Christ.

Dywed Satan mai gwyliedyddion y saint yw'r angylion; ac ni feiddiai yntau ddweyd celwydd wrth fab Duw. Ebe efe—"Efe a orchymyn i'w angelion am danat ti, rhag un amser i ti daro dy droed wrth gareg."

Y mae yn ymddangos i mi, oddiar ymchwiliadau manwl i'r Ysgrythyrau, fod yr angylion, pan y bo gan Dduw saint teilwng o hyny ar y ddaear, yn aros ar y ddaear gyda hwynt, i'w diogelu rhag niwed, os adnabyddant, a gwrandaw ar eu llais. Y mae amryw dystion a brofant hyn, megys Esay, Abraham, &c., heblaw fod gelynion yr Arglwydd, megys Hagar, Balaam, ac ereill, yn tystio hyn. Gwelwn eu bod hwy yn adnabod awdurdod a swyddau angylion ar y ddaear i raddau helaeth. Ond, o'r boll ddirgeledigaethau a berthynent i angylion, meddyliaf mai eu dylanwadau ar ddynion, heb iddynt eu gweled, na chlywed eu geiriau, ydyw y dirgelwch mwyaf annealladwy yn ngolwg yr oes hon. Mae rhai yn gwadu hyn, am nad allant ei amgyffred; ac y mae dosparth arall o ddynion i'w cael yn myned i'r eithafion arall o anghyssondeb, gan ddweyd fod rhai pethau yn "ddirgeledigaethau i'w credu, ond nid i'w hamgyffred"—fod yn rhyfyg i ddynion chwilio i mewn iddynt, na thraethu eu barn arnynt; ac y mae yn ormod gorchwyl i mi ddangos pa un o'r ddau ddosparth yw'r mwyaf afresymol. Ond ni wn am ddim a ddadguddiodd Duw erioed, a'r nad ei ewyllys ef yw i ddynion ei ddeall. Beth ond hyny oedd ei ddyben yn ei amlygu? Ni ddichon un creadur nefol na daearol ymgyrhaedd at fwy o wybodaeth ar y ffordd iawn, nag a ewyllysia Duw, sef y ffynnonell o oleuni a gwybodaeth, iddo gael; "Yr hwn sydd yn ewyllysio dyfod o bawb i wybodaeth o'r gwirionedd;" ïe, o radd i radd, "hyd oni chyflawner (dyn) â holl gyflawnder Duw."

Ond i ddychwelyd. Pa fodd y mae angylion yn dylanwadu mor ddirgelaidd ar feddyliau dynion? medd llawer un sydd eisoes yn deall dirgeledigaethau dyfnion philosophy, *astrology*, a *philology* yr oes hon, i raddau helaeth. Y mae eu hanwybodaeth o hyn yn profi eu dyeithrwch i iawn ymchwiliad.

Cyfeiriaf yn gyntaf am oleuni ar hyn, at yr ysgol a welodd Jacob, y y naill ben wedi ei osod ar y ddaear, a'r pen arall yn cyrhaedd i'r nefoedd, ac angylion Duw yn disgyn ac yn esgyn ar hyd-ddi. Hefyd, breuddwyd Pharaoh, a deongliad Joseph o hono. Pa fodd y gallai y deongliad fod yn sicr. oddieithr fod cymdeithas rhwng angel Pharaoh ag angel Joseph? Etto, breuddwyd Nebuchodonoser am y ddelw fawr ag oedd wedi myned o'i feddwl erbyn deffro. Drwy y gymdeithas ddirgelaidd hono rhwng eu hangylion â'u gilydd, gallai Daniel ddwyn, nid yn unig y ddelw, ond ei deongliad hefyd i'r goleuni. Dywed Daniel—"Y mae Duw yn y nefoedd yn dadguddio dirgeledigaethau," nid drwy ddyfod o'r nefoedd i amlygu y breuddwyd a'i ddeongliad, ond drwy anfon ei angylion, "ei ysbrydion gwasanaethgar," i egluro y dirgelwch iddynt. Cawn fod y doethion o'r dwyrain "wedi eu rhybyddio gan Dduw mewn breuddwyd, na ddychwelent at Herod." Ac wedi eu myned hwy ymaith, "wele angel yr Arglwydd a ymddangosodd i Joseph mewn breuddwyd." Mae yr esiamplau hyn yn ddigonol i brofi fod ysbryd yn gweinyddu i ysbryd, ac felly yr ydym yn breuddwydio dadguddiadau, oherwydd fod yr angylion da neu ddrwg yn amlygu i'n hysbrydoedd ni beth i'w freuddwydio; a dyma un ffordd sydd gan y nefoedd a'i llu i gymdeithasu â thrigolion daear!

"Pechodau rhyw ddynion sydd amlwg o'r blaen," cyn yr elont hwy eu hunain o flaen y Barnwr, "yn rhagflaenu i farn:" oherwydd ni

chawsant faddeuant o honynt cyn marw; "eithr rhai sydd yn eu canlyn hefyd." "Yr un ffunud hefyd y mae gweithredoedd da yn amlwg o'r blaen; a'r rhai sydd amgenach, nis gellir eu cuddio." Amlwg yw fod hyn yn cael ei wneyd drwy fod ysbrydion oddiwrth Dduw, yn adrodd y cyfan a wnawn. "Y mae tri yn tystiolaethu yn y nef, y Tad, y Gair, a'r Ysbryd Glân; a'r tri hyn un ydynt." "Ac y mae tri yn tystiolaethu ar y ddaear, yr Ysbryd, y dwfr, a'r gwaed; a'r tri hyn yn un y maent yn cyduno." Nid rhyfedd, ynte, fod pechodau rhai yn myned i'r farn o'u blaen—fod yn rhaid rhoddi cyfrif yn y farn "am bob gweithred a wnelom yn y cnawd, pa un bynag a fyddo ai da ai drwg;" canys swm y cyfan yw hyn:—Y mae ein gwaed, yr hyn yw ein bywyd—ein hysbryd, yr hwn sydd anfarwol—a'r dwfr, yn yr hwn ein bedyddir "er maddeuant pechodau," yn tystiolaethu i Dduw o'n gweithredoedd yn y cnawd, ac "angylion ein presennoldeb" yw y cenadon sydd yn tystio hyny iddo; ac ni a wobrwyir, neu a gospir, yn gyferbyniol. Pechodau yr annuwiol ydynt yn eu canlyn erbyn y cyfrif; a chan fod eu "haf wedi darfod, a chynauaf eu henaid wedi myned heibio," derbyniant "am bob trosedd gyflawn daledigaeth."

Y mae yr angylion yn myned yn, a thrwy awdurdod Duw, fel y mae yn amlwg yn ngwaith Jacob yn ymdrechu gyda Duw. "A phan adawwyd Jacob ei hun, fe ymdrechodd *dyn* ag ef hyd doriad y dydd;" a phan na lwyddodd, gofynodd "enw y *gwr*;" am hyny y galwodd "enw y lle Penuel, wyneb Duw." Cadarnheir hyn hefyd, gan "Gadben llu yr Arglwydd," yn dyfod at Joshua, ac yn amlygu iddo, yn hollol, y dull i gymmeryd Jericho, ei thynged, a phob peth oedd yn angenrheidiol iddo eu gwybod, er cyflawni gwaith yr Arglwydd. Er profi hyn etto yn eglurach, darllener tystiolaeth Ioan ar ynys Patmos—"Dadguddiad Iesu Grist, yr hwn a roddes Duw iddo EF [Iesu Grist], i ddangos i'w wasanaethwyr y pethau sydd raid eu dyfod i ben ar fyrder; a chan *ddanfon*, drwy EI ANGEL, efe a'i hysbysodd i'w wasanaethwr Ioan." Y mae hyn wedi ei brofi yn eglur ddigon weithiau; ond efallai y dywedir fod rhai nad ydynt yn breuddwydio dim, ac ereill yn cael breuddwydion drwg. Gellir addef hyny hefyd yn ddigon cysson â'r hyn a ddywedwyd. Y mae rhai dynion heb gredu mewn Duw, angel, nac ysbryd. Y mae ereill yn credu y naill a'r llall; ond heb ymddwyn yn ol eu cred. Y mae ysbrydion drwg a da yn ymdrin ag ysbryd dyn yn nghwsg ac yn effro, ac yn dylanwadu arno i'r graddau y gadawo iddynt; ond nid oes iddynt allu arno, ond drwy ei berswadio. Maent yn hollol groes i'w gilydd yn eu heffeithiau, gyda'r eithriad pan yr ymrithia y drwg fel "angel y goleuni." Gyda golwg ar allu dyn i'w gwrthsefyll, cyn iddynt gael meddiant rhy gryf o hono, y dywed yr Apostol, "Profwch yr ysbrydion, ai o *Dduw* y maent." "Gwrthwynebwch ddiafol, ac efe a ffy oddiwrthych." Gwneled pawb felly, fel na thristâoch ysbryd Duw.

# PENNOD IV.

## GWEINYDDIAETH BRESENNOL ANGYLION.

Wedi profi mor fanwl, yn y bennod blaenorol, fodoliaeth, swyddau, a dylanwadau angylion ac ysbrydion ar ddynion, awn yn mlaen gyda chyfeirio y darllenydd at rai addewidion a roddir i ni gan Dduw, drwy ei weision, y caffai y cyfryw weinidogaethau, drwy y cyfryw fodau, ie, hyd y nod "yn y dyddiau diweddaf" hyn. Darllener Act. ii, 17, 18. Er mor eglur y dywedir yma, esbonia pawb o'r bron fod hyn yn cyfeirio at ddydd y Pentecost; ie, er fod Pedr yn dweyd yn groes—er fod Duw yn dweyd mai "*yn y dyddiau diweddaf;*" ac felly y dywed Joel ii, 28 —"A bydd *ar ol* HYNY." Darllener yr adnodau blaenorol, a gwelir fod y prophwyd yn sôn am y gwaith mawr a wnelid ar y ddaear (adn. 21), pan y byddai plant Seion yn gorfoleddu (adn. 23). Wedi adferu yr Iuddewon yn ol i feddiannu eu gwlad (adn. 27)—pan y byddai Crist yn teyrnasu yn nghanol Israel yn dymmorol ac ysbrydol, *ar ol eu hadferiad* OLAF o'u gwasgariad *diweddaf*, yr hwn a fyddai am iddynt "wrthod gwrandaw ar lais Sanct yr Israel," yr hyn a brofir yn y geiriau hyn— "A'm pobl nis gwaradwyddir BYTH." Ar ol hyny, dywed Joel. y cyflawnir y brophwydoliaeth uchod; ac, ond edrych ar y geiriau, ni ddichon neb rhesymol feddwl eu bod wedi eu cyflawni y pryd hyny; "canys bydd YMWARED, fel y dywedodd yr Arglwydd, yn mynydd Seion, ac yn Jerusalem" (adn. 32). Pa YMWARED a fu y pryd hyny? Onid hollol groes i *ymwared* a fu y pryd hyny, ac hyd yn awr? "Wele, yr ydwyf yn gadael eich ty i chwi yn anghyfanedd," ebe Crist. Gwasgariad oedd y pryd hyny; *ymwared* a fydd y pryd hyn ag y cyfeiria Joel, Pedr, a Duw ato; sef, "Yn y dyddiau diweddaf"—"O flaen dyfod mawr ac ofnadwy ddydd yr Arglwydd" (adn. 31)—"Y tywalltaf o'm Hysbryd ar bob cnawd, a'ch meibion a'ch merched a brophwydant; eich gwyr ieuanc a welant weledigaethau, a'ch henafgwyr a freuddwydiant freuddwydion," &c.

Yr angylion ydynt yr offerynau a ddefnyddia Duw er *casglu* ei etholedigion i'r manau hyny a ddarparodd efe iddynt yn ymwared, pan dywelltir "phialau" ei ddigofaint ar yr annuwiol, cyn ei ddyfodiad i deyrnasu ar y ddaear gyda ei saint am fil o flynyddau. Yr angylion ydynt filwyr y nef, er mynegi y pethau a wna dynion, ac a ddewisa Duw iddynt eu gwneuthur; y rhai hyn a *gasglant* ei wenith i'w ysgubor, cyn y bydd iddo losgi "yr us â than anniffoddadwy." A thrwy ddylanwadu arnynt yn y modd a nodwyd, sef rhoddi iddynt ddadguddiadau, ysbryd y brophwydoliaeth, &c., y gwneir hyny. Y rhai hyn sydd yn dwyn o flaen yr orsedd, ac yn costrelu mewn "phiolau aur," "weddiau y saint!" Erbyn hyn, gwelir fod gweinidogaeth angylaidd, nid yn unig mor rhesymol ac ysgrythyrol yn yr oes hon ag un oes flaenorol, ond yn fwy angenrheidiol, yn ol y gwaith mwy a wna Duw ar y ddaear. O, mor ddefnyddiol ydynt! Mor drugarog ydyw y Duw grasol yn eu hanfon "yn ngoruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd" hyn, yn yr hon y "CRYNHOA EFE YNGHYD bob peth yn Nghrist Iesu." Diolchwn iddo am y fath fendithion nefolaidd. Na chaffer neb yn yr oes hon "yn cyflawni mesur eu tadau," ie, y tadau hyny a gondemniant am wrthod y pethau hyn yn yr oesau gynt. Ac oni ddylai tystiolaeth y rhai sydd yn

awr yn fyw, ie, cannoedd o rai rhagorol y ddaear, sydd yn gwybod mewn gwirionedd, ddyfod o angylion glân i'n daear ni yn yr oes hon, gael rhyw effaith ar feddyliau dynion i gredu hyn? Ni ddichon eu bod hwy oll wedi eu twyllo, yn yr hyn a welodd eu llygaid, a glywodd eu clustiau, a deimlodd eu dwylaw, ac a wyddant drostynt eu hunan. Os twyllwyd ni yn *hyn*, twyllwyd ein rhesymau, ein clustiau, a'n llygaid. Ac os twyll yw hyn yn awr, yr un peth a fyddai haeru mai twyll oedd yr holl hanes am y cyfryw bethau rhyfedd a ddygwyddent yn y cyn oesoedd; ac yr wyf yn foddlon i gael fy nhwyllo i gredu yr ysgrythyr, fel y cafodd y saint yn y cyn oesoedd; a goreu pa fwyaf o'r fath dwyll â hyny. Twyllir ni felly i'w cwmni hwy yn y diwedd, a thyna fy nymuniad i. Ni ddichon i ni dwyllo ereill yn hyn; canys os ufyddhânt i'r un gyfundrefn nefol, prawf ei hun yn wir i bawb gonest eu hegwyddor o honynt, yn mhob cwr o'r byd; ie, y mae eisoes wedi, ac yn gwneyd hyn i gannoedd yn awr yn Nghymru, drwy gyfranu bendithion nefolaidd, y doniau ysbrydol iddynt; nid er mwyn iddynt gredu, ond fel cynt, *wedi* credu ac ufyddhau, er eu cadarnhau, eu santeiddio, a'u perffeithio. A'r neb a brofa egwyddorion "Mormoniaeth," fel ei gelwir, "a gaiff wybod am y ddysgeidiaeth, ai o Dduw y mae, ai myfi o honof fy hun sydd yn llefaru." Prawf ei hun yn wirionedd dwyfol, yn "efengyl dragywyddol," yn "allu Duw er iachawdwriaeth;" a dyma paham y dywedais, na ddichon dwyllo neb. Paid a'i hofni, ddarllenydd; prawf hi; a sicrhaf, os cywir dy ddyben, nad edifarhei am hyny byth. Wedi darparu y ffordd, drwy symud ymaith y rhwystrau blaenorol, meddyliaf eich bod yn awyddus i ofyn, I bwy yr ymddangosodd yr angel hwnw? Gofynaf finnau, a ydyw cywirdeb yr hanes yn ymddibynu ar gymmeriad y person yr ymddangosodd iddo? Os felly, pe dywedwn iddo ddyfod at Mahomed, gwrthodai yr holl fyd Cristionogol ef. Pe at y Pab o Rufain, a gredai Protestaniaid hyny? Neu, pe daethai yr angel â'r genadwri hon at un o'r gwyr penaf, duwiolaf, ac uchaf ei gymmeriad, sydd yn blaenori rhyw sect yn awr, efallai y credai y blaid hono; ond diammau genyf y gwrthodai yr holl rai ereill ef a'i dystiolaeth megys twyll, a dywedent bob drygair am ei gymmeriad ef a'i ganlynwyr. Achosai hyny y fath elyniaeth a chenfigen atynt, nes eu lladdent, pe gallent. Pe gofynid iddynt paham y gwnânt hyny, eu hateb fyddai, "Haeddant farw; y maent yn twyllo meddyliau gweiniaid, ac y maent cystal â dweyd nad oes neb yn iawn ond hwy; ni allwn ni oddef i neb roddi un math o sarhad ar y crefyddau a roddodd ein tadau duwiol i ni, dan gredu pa rai y buant hwy feirw yn dduwiol!" Oni allai plant pob tadau yn mhob oes a gwlad amddiffyn eu crefyddau mor addas â hyn? Clywsom gan yr Hindwaid cystal rheswm â hyna dros addoli Juggernaut! "O, na," meddant, "crefydd y Bibl sydd genym ni; nid eilun-addoliaeth." Ond, y mae gwahaniaeth mawr rhwng *proffesu* a *chredu* crefydd y Bibl, canys crefydd y Bibl ydyw *gweinidogaeth angylion* yn mhob oes o'r byd. Mewn gwirionedd, nid yw cywirdeb, na defnyddioldeb y peth hyn, yn ymddibynu cymmaint ar y cymmeriad a ddyry poblogrwydd yr oes i'r person y gafodd y fraint fawr o'i dystio; canys Duw sy'n dewis ei offerynau, a gwael bethau y byd a ddewisodd efe yn y cyn oesoedd, "fel y byddai godidogrwydd y gallu o Dduw, ac nid o ddynion." Gogoniant ei enw, a lles dynolryw yw ei ddyben.

Gan ein bod yn gydnabyddus am flynyddau â'r person hwnw a

gafodd y fraint oruchel o fod yn offeryn yn llaw Duw, i sefydlu ei deyrnas ar y ddaear, yn y dyddiau diweddaf hyn; wedi clywed yr hanes o'i enau ei hun; wedi gweled ei fuchedd a'i ymarweddiad; wedi cymdeithasu ag ef yn y dirgel a'r cyhoedd, a chyda ei deulu ar ei aelwyd heddychlawn; wedi bod wrth ei ochr yn nghanol terfysgluoedd o elynion creulon a geisient ei fywyd, oherwydd ei dystiolaeth hon; wedi bod gydag ef yn y carchar am y seithfed waith a deugain iddo ef gael ei gaethiwo am ei grefydd; wedi clywed ei dystiolaeth yn nyfnder y carchar, o fewn i'r dorau cedyrn, lle y bwriwyd ef ar gyhuddiad o fradwriaeth yn erbyn y llywodraeth, am bregethu oddiar Dan xi, 44. Gan fy mod, meddaf, yn gwybod iddo, heb na *judge* na *jury* arno, selio y dystiolaeth â'i waed—o ddyfod angel â'r genadwri hon iddo: gan i mi glywed hyny o'i enau yn ei awr olaf, pa fodd yr ammheuaf hi? Daeth cannoedd o ddynion creulon, a meddwon gan mwyaf, wedi duo eu gwynebau cyn rhuthro arno, a lladdasant ef a'i frawd yno, heb gael un arholiad i'w achos yn ol cyfraith y wlad. Saethwyd cannoedd o fwledi atynt i'r ystafell drwy y ffenestri a'r drws. Aeth pedair drwyddo ef, a'r un nifer drwy ei frawd; a gwybod yr wyf ddarfod iddynt farw yn ferthyron hollol ddieuog o'r holl gyhuddiadau a daenir am danynt ar hyd a lled y byd. Os gwaith y diafol a'i offerynau ydyw erlid, lladd, a chynllunio celwyddau yn mhob oes, yn erbyn pa fath ddynion y rhyfela y cyfryw? "Os bydd teyrnas wedi ymranu yn ei herbyn ei hun, ni saif hòno." Felly y dywed pob dyn rhesymol. Gan i mi gael yr holl fanteision hyn, a gwybod y pwysfawrogrwydd o'r peth hyn i raddau helaeth; onid yw yn bechod ynof i beidio agor llygaid fy nghydwladwyr gyferbyn â'r gwirioneddau, newydd, rhyfedd, dwyfol, a daionus hyn? Rhoddaf, ynte, dalfyriad byr y waith hon, a helaethach y tro nesaf, o'r dull, y modd, a'r amser y cafodd Joseph Smith y fraint fawr hon. Na ryfedda, ddarllenydd; canys dyna ei enw: neu, "yr hen Joe Smith, y gau brophwyd, y twyllwr drygionus, rhyfygus, ffol, dichellgar," &c., &c., fel ei geilw gelynion y gwirionedd a theulu lliosog rhagfarn. Pa leiaf yr adnabyddant ef, mwyaf eu gelyniaeth ato; ac yn wir, felly fy hunan i raddau, nes gorfod credu, drwy fanwl ymchwiliad a chymdeithasu ag ef, nad oedd efe y dyn drwg a ddychymmygaswn ei fod. Ac yr ydwyf yn atebol am wirionedd yr hanes canlynol, pe dywedai holl dduwinyddion a doethion Cymru i'w erbyn. Heriaf yr holl oes, yn ol ysgrythyr a deddfau cyffredin tystiolaeth, i wrthbrofi fy nhystiolaeth.

---

## PENNOD V.

### HANES BOREUOL JOSEPH SMITH.

Ganwyd Joseph Smith yn nhref Sharon, swydd Windsor, talaeth Vermont, yn Unol Dalcithiau yr Amerig, ar y 23ain o fis Rhagfyr, 1805. Pan oedd efe yn ddeng mlwydd oed, symudodd ei rieni a'u teulu i Palmyra, yn nhalaeth New York. Trigasant yn y swydd hon tuag un mlynedd ar ddeg; y rhan olaf o'r tymmor yn nhref Manchester. Amaethwyr oeddynt o alwedigaeth. Yr oedd manteision Joseph, ac o ganlyniad ei wybodaeth am wahanol gangenau dysgeidiaeth, yn

fach iawn, yn cyrhaedd yn unig at allu darllen, ysgrifenu, ac ychydig o rifyddiaeth. O'r bedwaredd-ar-ddeg hyd y bymthegfed flwydd o'i oedran, dechreuodd ddwys fyfyrio ar yr anghenrheidrwydd o ddarparu erbyn ei sefyllfa ddyfodol; ond pa fodd i wneuthur hyny, oedd yn gwestiwn heb ei ateb i foddlonrwydd i'w feddwl. Ymddangosai yn gwestiwn o bwys annhraethol yn ei olwg, yn gymmaint â bod iach-awdwriaeth ei enaid yn ymddibynu ar gael gwybodaeth gywir o hono. Os na chaffai afael yn y ffordd gywir i hyny, gwelai fod yn anmhosibl iddo rodio ynddi, oddieithr ar ddamwain—gan anturio tua'r Barnwr cyfiawn, ac ymorphwys yr oll a feddai ar ddygwyddiad. Hyn oedd beth na foddlonai i'w wneuthur. Os ymholai gyda'r gwahanol bleidiau crefyddol, cyfeiriai y naill a'r llall o honynt ef at eu credoau neillduol eu hunain, gan ddweyd, "Dyma'r ffordd, rhodia ynddi." Canfyddai lawer o bethau ganddynt yn hollol groes i'w gilydd. Ymddangosai yn rhesymol iddo, na threfnodd Duw ond un ffordd i fod yn gadwedig drwyddi; ac o ganlyniad, ni allai efe feddwl fod, o'r holl wahanol eglwysi yn y byd, namyn *un* yn wir eglwys i Dduw, ac y rhaid fod hòno wedi ei hadeiladu ar yr un sylfaen, yn credu yr un athrawiaeth, yn arferyd yr un ordinhadau, yn rhwymyn yr un Ysbryd, ac yn dwyn yr unrhyw ffrwythau, â'r eglwys gyntefig, cyn y cymmeradwyai Duw hi yn yr oes hon. A chan na allai ymddiried am fywyd tragywyddol ar seiliau mor gyfnewidiawl a gwahanol, penderfynodd chwilio yr ysgrythyrau yn fanwl a diduedd. Parhaodd felly am ysbaid o amser, gan gredu yr hyn a ddarllenai. Yn mhlith yr amrywiol wirioneddau godidog a frithent ei ddalenau, ac a lawenhai ei galon, nid nemawr un a ennillai ei sylw yn fwy nâ'r hyn a ganlyn:—"Od oes ar neb eisieu doethineb, gofyned gan Dduw, yr hwn sydd yn cyfranu yn haelionus i bawb, heb ddannod; a hi a roddir iddo." Anhawdd traethu y fath orfoledd a barodd yr addewid werthfawr hon iddo, pan y gwelodd fod y fraint i bob dyn o gael gofyn, ïe, gyda sicrwydd hefyd o gael derbyn gan Dduw, y wybodaeth oedd mor anghenrheidiol er iawn droedio yn ffordd y gwirionedd, a therfynu y ddadl galed oedd yn ei feddyliau. Yr oedd hyn fel goleuni yn llewyrchu mewn lle tywyll, i'w dywys i'r ffordd y dymunai rodio ynddi; ac o ganlyniad, penderfynodd ymneillduo i'r dirgel yn y goedwig, ychydig oddiwrth dy ei dad, i weddio ar Dduw am gyflawni yr addewid werthfawr hon, a dangos iddo pa un o'r holl enwadau crefyddol oedd eglwys Iesu Grist. Wedi penlinio yno, a dechreu ar y gorchwyl pwysig o alw ar yr Arglwydd â'i holl galon, temtid ef (mae yn debyg) gan nerthoedd y tywyllwch, mewn llawer modd, i feddwl na wrandewid ei weddi, ac nad yw y fath beth i'w gael yn awr; ond parhai yntau yn daerach, daerach, am waredigaeth, nes i'r tywyllwch ddechreu gwasgaru o'i feddwl, ac iddo yntau allu gweddio megys yn nerth yr Ysbryd, ac mewn ffydd ddiysgog. Tra yn parhau i dywallt ei enaid fel hyn o flaen Duw am atebiad i'w weddi, yn mhen yspaid gwelai oleuni yn dysclaerio yn rhyfeddol yn yr wybr uwch ei ben; yntau a ymegnïodd fwy-fwy i weddio, a'r goleuni oedd yn dyfod i wared yn raddol tuag ato, ac fel yr agosâai, cynnyddai mewn dysclaerder a mawredd, nes, erbyn iddo gyrhaedd brigau y coed, ymddangosai y goedwig wedi ei goleuo yn ddysclaer a gogoneddus oddi amgylch iddo. Ar y meddwl

cyntaf, dysgwyliai weled y cangenau a'r dail yn cael eu deifio o'i amgylch. Ond gan na chafodd yr effaith hòno arnynt, ymwrolodd i allu dal yn ngwyneb y dysclaerdeb. Parhaodd felly i ddisgyn yn araf, nes cyrhaedd y ddaear, gan ei hollol amgylchynu yntau. Pan y cyffyrddodd ag ef gyntaf, achosodd deimladau rhyfedd drwy ei holl gyfansoddiad, ac yn y fan cipiwyd ei feddwl ymaith oddiar y gwrthrychau a'i hamgylchent, fel mewn gweledigaeth nefolaidd. Gwelai ddau berson gogoneddus, yn tebygoli i'w gilydd o ran pryd a gwedd. Dywedasant wrtho fod ei bechodau wedi eu maddeu. Hysbyswyd ef ynghylch yr hyn y gofynai am dano, ag ydoedd wedi achosi cymmaint o dristwch i'w feddwl—fod yr holl bleidiau crefyddol yn y wlad yn credu athrawiaethau anmherffaith, i raddau mwy neu lai; ac, o ganlyniad, nad oedd Duw yn arddel yr un o honynt yn eglwys iddo ef; er fod llawer o honynt yn selog, yn ddynion cydwybodol, yn ofni Duw, yn cilio oddiwrth ddrygioni, ac yn ei addoli yn ol y goleuni oedd ganddynt. Gorchymynwyd iddo beidio ymuno â neb o honynt. Cafodd addewid yr adferid iddo y wir athrawiaeth—cyflawnder yr efengyl, mewn amser dyfodol; ac wedi y pethau hyn, diflanodd y weledigaeth, gan adael ei feddwl wedi ei orlenwi â thawelwch a llawenydd annesgrifiadwy. Yn mhen amser wedi cael yr amlygiadau dwyfol hyn, goddiweddwyd ei feddwl i raddau gan chwantau ieuenctyd, yr hyn a barodd iddo edifeirwch dwys ger bron Duw wedi hyny.

---

## PENNOD VI.

### DADGUDDIAD Y LLAFNAU AUR.

Ar yr 21ain o fis Medi, 1823, gwelodd y Duw trugarog a graslawn yn dda, nid yn unig i wrandaw, ond ateb gweddiau Joseph Smith yn ychwanegol. Wedi iddo ddychwelyd i orphwys, fel arferol, yr oedd ei feddwl wedi ei sefydlu mewn taer weddi, a gwir ddymuniad ei enaid i gael cymdeithas rhyw genadydd dwyfol, gyda hysbysiad iddo o'i gymmeradwyaeth gerbron Duw, ac i amlygu iddo egwyddorion crefydd Crist, yn ol yr addewid a gafodd yn y weledigaeth flaenorol. Pan oedd yn parhau fel hyn gerbron gorsedd gras, gan ymdrechu i ymarferyd ffydd yn yr addewidion oedd mor felys i'w enaid, yn ddisymwth llewyrchodd goleuni fel goleu-ddydd, ond yn llawer mwy pur, tanbeidiawl, a gogoneddus, i'r ystafell. Ymddangosai y ty, ar yr olwg gyntaf, fel pe buasai wedi ei lenwi â thân ysol! Parodd ymddangosiad mor ddisymwth o oleuni mor ddysclaer ergyd i'w holl gorff; ond dilynwyd ef yn fuan gan y fath lawenydd a gorfoledd, nes yr oedd o galon yn dymuno cyfeillachu â'r achos o hono. Yn y fan, ymddangosodd person gogoneddus o'i flaen. Ac er mor ddysclaer oedd y goleuni a lanwai yr ystafell, yr oedd rhyw belydrau dwyfol o oleuni mwy tanbeidiol a gogoneddus eilwaith yn amgylchu y person hwn! Er fod ei wynebpryd fel mellten, etto yr oedd cariad a diniweidrwydd wedi ei argraffu arno mor ddealladwy, nes symud pob ofnau o'r meddwl, a gorlenwi yr enaid â'i ddelw. Ei gorffolaeth oedd ychydig yn fwy nâ'r cyffredin o ddynion yn ein hoes ni: ei wisg oedd

mor ganaid â'r eira, ac nid ymddangosai un math o wniad ynddi. Llefarodd y bod dysclaer hwn wrtho, gan ddywedyd mai angel Duw oedd, drwy orchymyn wedi ei anfon i hysbysu iddo fod ei bechodau wedi eu maddeu, fod ei weddiau wedi cael eu gwrandaw, ac hefyd i ddyfod â'r newyddion da o lawenydd mawr iddo; sef, fod yr amser gerllaw i'r Arglwydd gwblhau y cyfammod a wnaeth ag Israel gynt, mewn perthynas i'w hâd;—fod y mawr, y rhyfeddol, a'r dyeithr-waith a addawsai Duw gyflawni ar y ddaear, fel rhag-barotoad i ail ddyfodiad y Messiah, ar ddechreu; ac hefyd, fod yr amser gerllaw i'r efengyl gael ei phregethu yn ei chyflawnder i'r holl genedloedd, er darparu pobl santaidd a ffyddlon, i fod yn deilwng o gael mwynhau ei orphwysfa ogoneddus, yn ei deyrnasiad buddygoliaethus ar y ddaear newydd ac adferedig.

Hysbyswyd iddo hefyd ei fod ef wedi ei ddewis a'i alw, i fod yn offeryn yn llaw Duw er dwyn yn mlaen waith rhyfeddol yr oruchwyliaeth ogoneddus hon. Amlygwyd iddo fod yr "Indiaid Americanaidd" yn weddillion Israel; eu bod, pan y daethant gyntaf ar y cyfandir, yn bobl hardd a dymunol yr olwg arnynt, yn meddu gwybodaeth o'r unig wir Dduw, yn ei ffafr, ac yn derbyn bendithion neillduol oddiar ei law; fod y prophwydi a'r ysgrifenyddion ysbrydoledig oedd yn eu plith, wedi ysgrifenu hanes y pethau hynotaf o oruchwyliaethau Duw tuag atynt, o oes i oes, am lawer o genedlaethau, hyd oni oddiweddwyd hwynt gan farnau Duw am eu drygioni, ac y difethwyd y mwyrif o honynt; ond fod yr oraclau a gynnwysai eu hanes (trwy orchymyn Duw i un o'u prophwydi diweddaf) wedi eu cuddio, er eu diogelu rhag y dynion drygionus a geisient eu difetha. Dywedodd fod yr oraclau hyn yn cynnwys llawer o ddadguddiadau dwyfol, yn dwyn perthynas ag efengyl y deyrnas; heblaw prophwydoliaethau am y pethau nodedig, gogoneddus, ac ofnadwy a gyflawnid yn y dyddiau diweddaf. Ac, fel y cyflawnai Duw ei addewidion i'w hynafiaid a wnaethent yr oraclau hyn, a chwblhau ei amcan yn eu hadferiad, &c., y dygid yr oraclau hyn i'r amlwg. Os byddai efe yn ffyddlon, caffai y fraint o fod yn offeryn i ddwyn y dirgeledigaethau santaidd hyn i'r goleuni. Rhybyddiai ef yn ddwys i gofio bob amser, am wneuthur pob peth er gogoniant i Dduw. Nad ymddiriedid yr oraclau hyn i neb, a geisiai ei dderchafiad, ei ogoniant, a'i les ei hun drwyddynt. Wedi ei gynghori i fyw yn gyfiawn, bod o egwyddor uniawn yn gwasanaethu Duw, ac amlygu iddo lawer o bethau mynedol a dyfodol, rhy faith i'w traethu yma, ymadawodd yr angel, a chiliodd y goleuni, a gogoniant Duw gydag ef, gan adael meddwl Joseph yn dawel a llon, i fyfyrio ar y pethau a glywodd ac a welodd. Ond cyn y boreu, adnewyddwyd y weledigaeth ddwywaith, gan ei hyfforddi ef yn mhellach ac yn fanylach, mewn perthynas i'r gwaith mawr a rhyfeddol yr oedd Duw ar ddechreu ei wneuthur ar y ddaear.

Yn y boreu, aeth at ei orchwyl fel arferol; ond yn fuan adnewyddwyd y weledigaeth iddo drachefn, ac ymddangosodd yr angel o'i flaen; a chan ei fod wedi cael gwybodaeth eisoes, yn y gweledigaethau blaenorol, am y fan lle yr oedd yr oraclau yn guddiedig, gorchymynodd iddo fyned yno yn ddioed i'w gweled. Yn y fan, gan adael ei orchwylion, efe a aeth i'r man lle y gorchymynwyd iddo.

Rhoddaf ddesgrifiad byr o'r fan hono lle gorweddai yr oraclau, mewn geiriau boneddwr o'r enw Oliver Cowdery, yr hwn a ymwelodd â'r fan wedi hyny. "Ar yr ochr ddwyreiniol i'r ffordd gyffredin sydd yn arwain o dref Palmyra, swydd Wayne, i Canandaigna, swydd Ontario, yn nhalaith Caerefrog Newydd (U. D. A.), oddeutu pedair milltir cyn cyrhaedd tref fach Manchester, y mae mynydd mawr—mawr, meddaf, oherwydd ei fod cymmaint, os nad yn fwy, nag un arall yn y cylchoedd hyny." Wedi rhoddi desgrifiad manwl o'r mynydd, ychwanega—"Yn agos i'r pen uchaf iddo, ar yr ochr ddwyreiniol, y darganfyddwyd yr oraclau [cyfeiriedig]. Pan ymwelais â'r fan yn y flwyddyn 1830, yr oedd yno amryw goedydd yn tyfu, digon i roddi cysgod rhag gwres yr haf, ond nid mor lliosog ag i rwystro glaswellt i dyfu. Pa mor ddwfn yn y ddaear y cuddiasid yr oraclau, y mae yn anhawdd dweyd; ond oddiwrth y ffaith eu bod wedi bod yn gorwedd yno, ar ochr mynydd mor serth, am oddeutu pedwar cant ar ddeg o flynyddau, gellid meddwl eu bod amryw droedfeddi dan y wyneb pan roddwyd hwy yno, gan fod yn naturiol i'r wyneb dreulio, mwy neu lai, mewn cymmaint o amser; er na threuliai gymmaint mor agos i'r copa, ag yn îs i lawr, efallai. Yn y man hwn yr oedd twll wedi ei dòri. Yr oedd careg, â'r ochr uchaf iddi yn llyfn, yn llanw y gwaelod; o amgylch ei hochrau yr oedd math o *cement*, yn yr hwn y rhoddasid pedair o geryg tenenon ar eu hochrau, ac oddi allan i ochrau y gareg isaf. Yr oedd y cyfan wedi eu gosod fel hyn, yn gwneyd cist, a'r conglau wedi ei llanw yn gywrain â *cement*, fel na allai dim gwlybwr oddi allan dreiddio i mewn. Ochrau mewnol y ceryg ereill oeddynt wedi eu llyfnhau hefyd. Yr oedd y gist hon yn ddigon o faint i gynnwys dwyfroneg, fel y gyfryw a arferai yr hynafiaid i amddiffyn y fynwes rhag saethau y gelynion. O waelod y gist, yn sefyll ar y ddwyfroneg, yr oedd tair colofn, wedi eu gwneuthur o'r *cement* ag oedd yn yr ochrau. Ar y tair colofn hyn y gorweddai yr oraclau. Yr oedd careg arall. â'i gwyneb isaf yn llyfn, a'r wyneb uchaf yn goronog, yn canad ar y gist. Pan ymwelodd Mr. Smith â'r lle ar foreu yr 22ain o Fedi, 1823, yr oedd wyneb uchaf y gareg yn weledig, ond ei hochrau yn guddiedig gan ddaear a glaswellt; fel y mae yn amlwg, er na wyddys pa mor ddwfn eu cuddiwyd ar y cyntaf, eu bod wedi bod yno ddigon o amser i'r ddaear dreulio oddi arnynt, a dod â hwynt i'r amlwg. Ond wedi ei gyfarwyddo, hawdd oedd iddo eu cael. er nad oeddynt mor nodedig â thynu sylw neb a elai heibio. Wedi cyrhaedd i'r fan gydag ychydig o ymdrech, cododd y gareg uchaf, ac er ei syndod mawr, syllodd â'i lygaid ar gynnwysiad rhyfeddol y gist. Pan oedd yn syllu ar y trysor santaidd hwn, gan ryfeddu a myfyrio ar yr hyn a glywsai gan yr angel yn flaenorol, wele angel yr Arglwydd, yr hwn a ymddangosasai iddo o'r blaen, yn sefyll ger ei fron, a'i enaid a lanwyd o orfoledd fel yn yr hwyr blaenorol, ac efe a gyflawnwyd o'r Ysbryd Glân, a gogoniant yr Arglwydd a ddysclaeriodd oddiamgylch iddo, ac a orphwysodd arno. Pan yn y sefyllfa ddedwydd hon, yn syllu ar yr olygfa ogoneddus o'i flaen, yr angel a ddywedodd wrtho, "Edrych!" ac fel yr oedd yr angel yn llefaru, gwelai dywysog y tywyllwch a'i lu aneirif oddiamgylch iddo. Wedi i'r rhai hyn fyned heibio o'i olwg, ychwanegodd yr angel lefaru, gan ddywedyd, "Dang-

oswyd i ti hyn oll—y da a'r drwg, fel yr adnabyddit hwynt. Wele, pob peth sydd o duedd dda, o Dduw y mae; a phob peth croes i hyny, o'r un drwg. Ni elli y pryd hwn gael meddiant o'r oraclau hyn, oherwydd manylrwydd gorchymyn Duw yn eu cylch. Rhaid eu ceisio cyn eu ceir, trwy weddi a ffyddlondeb. Ni ddiogelwyd hwynt yma er elw i neb, nac er hunan-glod; ond seliwyd hwynt dan weddi'r ffydd, oherwydd y wybodaeth a gynnwysant, ac nid o ran un gwerth arall. Y maent yn dadguddio cyflawnder efengyl Iesu Grist, megys ei rhoddwyd i'w bobl, y rhai oeddynt gynt yn preswylio yn y tir hwn. Ar y pryd ei dygir i'r amlwg drwy allu Duw, lluoedd o'r cenedloedd a'i derbyniant; ac wedi hyny y dygir gweddill Israel i gorlan eu Gwaredwr, drwy ufyddhau iddo hefyd. Deisyfodd y rhai hyny a gadwasant orchymynion yr Arglwydd ar y tir hwn, y pethau hyn ganddo, a thrwy weddi ffyddiog derbyniasant yr addewid, os byddai i'w plant droseddu, a myned i ddirywiad, yr adferid yr oraclau hyn i'w hâd. Pethau santaidd yw y rhai hyn, a rhaid eu cadw felly; canys rhaid cwblhau addewid yr Arglwydd yn eu cyflawniad. Ni ddichon neb eu derbyn oddieithr ei fod o galon bur, o herwydd eu bod yn cynnwys pethau santaidd. Trwyddynt y gwna yr Arglwydd waith mawr a rhyfeddol. Doethineb y doethion a balla, a deall y rhai deallgar a ymguddia, o herwydd yr amlygir gallu Duw. Y rhai a broffesant y gwirionedd, ond a rodiant mewn twyll, a ymgynddeiriogant i'w erbyn gan lid; ond trwy arwyddion a rhyfeddodau, trwy roddion iachâu—amlygiadau o allu Duw, a thrwy yr Ysbryd Glân, y dyddenir calonau y ffyddloniaid. Ti a welaist yn awr allu Duw, a nerth Satan; gwel nad oes dim dymunol yn ngweithredoedd y tywyllwch; ni allant ddwyn dedwyddwch, a thruenus fydd y rhai a oddiweddir ganddynt: tra, o'r ochr arall, y rhai cyfiawn a fendithir ag etifeddiaeth yn nheyrnas Dduw, a llawenydd annhraethol a'u hamgylcha. Yno y gorphwysant, tuhwnt i gyrhaedd gelynion y gwirionedd, lle nid aflonydda y drwg hwynt. Yn wastadol eu coronir â gogoniant Duw, y gwleddant ar ei ddaioni, ac y mwynhant wedd ei wyneb. Wele! er i ti weled yr amlygiadau hyn o'r fath allu mawr, fel y gelli bob amser adnabod yr un drwg; etto, mi a roddaf i ti arwydd arall, fel pan ei cyflawnir y gwybyddi mai yr Arglwydd sydd Dduw, ac a deyrnasa; efe a gwblha ei fwriadau, ac a ddwg y wybodaeth a gynnwysa yr oraclau hyn i bob cenedl, llwyth, iaith, a phobl dan yr holl nefoedd. Hyn yw'r arwydd: pan y dechreuant glywed ddarfod i Dduw amlygu y pethau hyn i ti, gweithredwyr anwiredd a geisiant dy ddadymchwelyd. Traethant a chyhoeddant ystorïau, a chyhuddiadau celwyddog am danat, i ddrygu dy gymmeriad, a hwy a geisiant dy fywyd yn ddiachos; ond cofia hyn, os byddi ffyddlon, gan barhau i gadw gorchymynion yr Arglwydd o hyn allan, efe a'th wareda o'u dwylaw, ac a'th alluoga i ddwyn gwybodaeth o'r oraclau hyn i ddynion; canys mewn amser cyfaddas y dyry Duw orchymyn ar i ti eu derbyn. Wedi eu cyfieithu, rhydd yr Arglwydd yr offeiriadaeth santaidd i rai, a hwy a ddechreuant gyhoeddi yr efengyl hon, gan fedyddio mewn dwfr er maddeuant pechodau, ac wedi hyny derbyniant awdurdod i gyfranu yr Ysbryd Glân drwy arddodiad dwylaw. Yna, cynnydda yr erlidigaeth fwy-fwy, o herwydd amlygir twyll dynion drygionus; a'r rhai nad ydynt wedi adeiladu ar y graig a geisiant

ddadymchwelyd yr eglwys, ond hi a gynnydda po fwyaf ei gwrthwynebir, ac a ymledaena yn cangach, gan gynnyddu mewn gwybodaeth hyd oni pherffeithir, a derbyn o honi ei hetifeddiaeth, pan y bydd gogoniant Duw yn gorphwys arni. A phan y cymmer y pethau hyn le, ac y bydd pob peth yn barod, dadguddir deg llwyth Israel yn ngwlad y gogledd, yn mha le y maent yn trigo er's amseroedd maith; a phan gyflawner hyn oll, y daw i ben yr hyn a ddywedodd y proffwyd,—'Y Gwaredwr a ddaw i Seion, ac a dry ymaith annuwioldeb oddiwrth Jacob, medd yr Arglwydd.' Ond, er i weithredwyr anwiredd geisio dy ddyfetha, braich yr Arglwydd a'th amddiffyna, ac a'th wna yn fuddygoliaethus arnynt oll, i ddwyn y pethau hyn i'r amlwg, os cedwi ei orchymynion. Dy enw a adnabyddir yn mhlith y cenedloedd, canys y gwaith a wna yr Arglwydd drwyot a achosa i'r rhai pur o galon lawenhau, ac i'r drygionus a'r cenfigenus gynddeiriogi; gan y naill y bydd yn barchus ac yn anrhydeddus, a chan y llall yn wawdus a dirmygus; er hyny, iddynt hwythau y pâr ddychryn ac arswyd, o herwydd y gwaith mawr a rhyfeddol a ganlyna ddyfodiad cyflawnder yr efengyl hon i'r byd. Yn awr, dos ymaith yn llawen; cofia, pa bethau mawrion a wnaeth yr Arglwydd i ti. Bydd ddyfal i gadw ei orchymynion, ac efe a'th wared rhag temtasiynau, maglau, a chyfrwysdra y drygionus, nes cyflawni dy waith. Nac anghofia weddio, fel y cryfhaer dy feddwl, fel pan ddadguddio efe i ti, y galluoger di i ddianc rhag y drwg, ac i dderbyn yr oraclau gwerthfawr hyn."

Rhoddwyd llawer ychwaneg o gynghorion a gwybodaethau, drwy enau yr angel i Mr. Smith, y rhai y'nt rhy faith i'w cyhoeddi yma. Yn nghorff y pedair blynedd ganlynol cafodd lawer o ddadguddiadau o bryd i bryd, drwy enau cenadon nefolaidd; ac ar foreu yr 22ain o fis Medi, 1827, angel yr Arglwydd a gyflwynodd yr oraclau i'w ddwylaw. Ac yn awr, ddarllenydd, beth mewn gwirionedd sydd yn gwneuthur i'r gwirioneddau hyn ymddangos yn fwy afresymol neu anhygoel yn ein dyddiau ni, nag oedd i'r cyfryw genadon nefolaidd wneuthur pethau cyffelyb i ereill yn y cyn-oesoedd? Anturiaf ddweyd na ddichon neb a gredant y naill gael allan un ateb, na chynyg un wrthddadl i'r llall, ond ystorïau disail traddodiad a rhagfarn. Etto, nid ydym ni yn gofyn i neb ymorphwys ar dystiolaeth Joseph Smith yn unig am y gwirionedd o hyn, ddim mwy nag y gwnawn ninnau; ond y mae cannoedd o filoedd yn awr yn fyw yn mhedwar cwr y byd, a channoedd yn Nghymru yn awr, wedi cael tystiolaethau digonol gan Dduw yn ol ei addewid, mai gwir yw; ac nid hyny yn unig ychwaith, ond caiff pob un gonest ei galon a ufyddhao i'r efengyl dragwyddol hon, dystiolaethau hefyd o'r un man iddynt eu hunain. Dyma addewid werthfawr, onidê? Yna prawf hi, a gwel mai gwir yw.

## PENNOD VII.

### DESGRIFIAD O'R LLAFNAU.

Wedi profi mewn pennod flaenorol yn y llyfr hwn fod gweinidogaeth angylaidd, yn y dyddiau diweddaf hyn, yn rhesymol, ysgrythyrol, ac yn ffaith wirioneddol; rhoddasom ychydig o hanes ymweliad cenadon santaidd â Mr. Joseph Smith yn yr America, eu cenadwri, darganfydd-

iad rhyfeddol o hen oraclau gwerthfawr, a'r modd eu traddodwyd i'w ddwylaw; ac yn ol ein haddewid rhoddwn ddesgrifiad o honynt, y modd y cyfieithwyd hwynt, tystiolaethau y rhai a'u gwelsant â'u llygaid, a'u teimlasant â'u dwylaw, ac o ganlyniad a wyddent y pethau y tystient o'u herwydd. Rhoddwn hefyd grynodeb byr o gynnwysiad yr oraclau hen, defnyddiol, a gogoneddus hyn. Y mae ein hadnabyddiaeth brofiadol o ragfarn a'i heffeithiau andwyol, yn ddigonol i'n hesgusodi am rybyddio y darllenydd hynaws i beidio â barnu yr hanes ganlynol, yn ol yr ystoriau disail sydd eisoes wedi gorlenwi y wlad o'r bron am dano. Ac, er ei fwyn ei hun a'r gwirionedd, na phwysed ef ychwaith yn nghlorianau credoawl yr oes. Pe na buasai dim a wnelai angylion â'r darganfyddiad o'r oraclau cyfeiriedig, diammau y buasai haneswyr doethion a mawrion y wlad yn ei gymmeradwyo fel y peth gwerthfawrocaf a gymmerodd le ar y cyfandir er ei sefydliad cyntefig; cawsai yr astell nesaf i'r uwchaf yn llyfrgelloedd y duwinyddion, a gwelsid ef wedi ei oreuro, ac yn ei le priodol ar ford penaethiaid y ddaear; ïe, buasai yn achosi cyfnod newydd yn hanesyddiaeth y byd! O'r fath wrthwynebiad mawr sydd gan y teulu dynol i'r angylion gyfrinachu â hwynt yn ein dyddiau ni! Pa le y mae yr egwyddor hanfodol a grewyd mewn dyn, er ei addasu i gymdeithasu â'i frodyr oddifry? A ydyw wedi diflannu yn hollol o'r hil ddynol, erbyn hyn? Pe le y mae rheswm? Ai traddodiad a'i llyncodd yn llwyr? Cafwyd allan lawer o bethau ereill mwy anhygoel ar y cyfandir, a manau ereill, nâ'r pethau dan sylw; ond coelir y naill yn gyffredinol, a gwedir y lleill yn ngwyneb ffeithiau anwrthwynebadwy a dwyfol! Cofus genym am un amgylchiad nodedig a ddaeth dan ein sylw tra yno; er enghraifft, i brofi yr hyn a ddywedwyd, ac i ddangos afresymoldeb a grym rhagfarn. Ar yr 16eg o Ebrill, 1843, breuddwydiodd dyn o'r enw Robert Wiley, marsiandwr yn Kinderhook, swydd Pike, talaeth Ills, fod rhyw drysorau cuddiedig mewn moel-glawdd adnabyddus iddo yn y gymmydogaeth; ac wedi tirio am oddeutu tair troedfedd ar ddeg o'r wyneb, cafodd chwech o lafnau pres, pedair modfedd o hyd, modfedd a thri chwarter eu lled yn y naill ben, a dwy fodfedd a thri chwarter eu lled yn y pen arall; pedair rhestr o lythyrenau *(hieroglyphics)* ar bob ochr iddynt. Ar un o'r llafnau mae llun tri phenglog, y mwyaf yn y canol, wedi eu hamgylchu â phelydrau cyffelyb i'r hyn a welir yn amgylchu pen ein Hiachawdwr yn y darluniau a wneir o hono yn awr. Odditan y ddau leiaf y mae llun dau bren, a'u cangenau; ar un o'r llafnau y mae llun pen mawr, a llun dwy law yn cyfeirio ato. Gwelsom y llafnau hyny, a chyhoeddwyd y peth drwy'r newyddiaduron, ac ni chlywais fod neb yn anghredu; ond pe buasai yr hwn a'u cafodd yn ynganu gair, fod dim a wnelai angylion â'r peth, nid y'm yn meddwl y buasai yntau yn cael ei goelio am hyn, yn gynt nag y coelir Joseph Smith, ddarfod iddo yntau gael llafnau aur. Felly y mae rhagfarn mor gref yn erbyn angylion, fel y gwell gan bobl gredu tystiolaeth y deist proffesedig hwn, nâ'r dyn duwiol arall. Y mae pob arwyddion yn profi fod y llafnau hyn wedi bod yn guddiedig yno er's oesoedd lawer, canys yr oedd coed o ddwy droedfedd a hanner o drwch yn tyfu ar ben y moelydd celfyddydol hyny. Y mae doethion y byd wedi bod yn dychymmygu llawer o barthed i ddechreuad y moelydd hyn, a llawer o weddillion ereill o ad-

eiladau yr henafiaid; ond y mae eu hanes a'u gwneuthurwyr, a phob peth arall a berthyn iddynt, yn hollol anwybodus i'r byd; ond yr hyn a amlygir ar y llafnau a ddygir i'r amlwg o bryd i bryd. Ac onid yw y darganfyddiad o'r naill ag a addefir yn gyffredinol (a'r neb a ammheuo, a all weled y darlun o honynt yma), yn addefiad hefyd o'r llall? Ac onid yw y ffaith, fod y Joseph Smith annysgedig hwnw wedi cyfieithu y naill lafnau, tra mae gwybodaeth o'r *hieroglyphics* wedi ei cholli o'r byd, o'r bron er's oesoedd, oddieithr rhai llythyrenau o honynt, yn profi hefyd ddarfod iddo gyfieithu yn gywir y lleill a roddwyd iddo yntau drwy weinidogaeth angylaidd. Diammau eu bod, at y lluoedd ereill a ellid nodi, yn ffeithiau anwrthwynebol yn ngolwg pob dyn rhesymol.

Ond i ddychwelyd at yr hanes am y llafnau aur, canys ymddangosent fel y cyfryw. Yr oedd yr *hieroglyphics* wedi eu cerfio arnynt, o bob tu. Maint y llafnau oedd o saith i wyth modfedd o hyd a lled, ac yn deneuach nâ'r *tin* cyffredin, wedi eu rhwymo yn gyfrol, a thair o fodrwyau drwy dyllau yn y naill ymyl i'r cyfan. Yr oedd y gyfrol oddeutu chwe modfedd o drwch, a rhan o honi yn seliedig. Yr oedd y llythyrenau ar y rhan anseliedig yn fychain a chywrain iawn. Yr oedd pob arwyddion yn arddangos henafiaeth y llyfr hwn, a chywreinrwydd mawr yn ei gerfiadaeth. Gyda'r oraclau hyn, cafwyd offeryn rhyfedd, a elwid gan yr henafiaid yn Urim a Thummim, yr hwn a gynnwys ddwy gareg dryloywon mor ddysclaer â'r grisial, wedi eu gosod un yn mhob ochr i fwa. Arferid yr offeryn hwn yn y cynoesoedd gan y "gwyliedyddion," a thrwyddo y dadguddid iddynt bethau mynedol a dyfodol, yn mhell ac yn agos.

## PENNOD VIII.

### ERLIDIGAETH YN NGHYLCH Y LLAFNAU.

PAN ddeallodd y cymmydogion fod Mr. Smith wedi gweled gweledigaethau nefolaidd, a chael yr oraclau santaidd hyny, dechreuasant ei wawdio a'i erlid; hyd y nod pan oedd yn eu dwyn i'w dy, ymosododd dau ddyn arno yn y goedwig, pa rai oeddynt wedi bod yn llechu yno yn bwrpasol, i ddwyn yr oraclau oddiarno ar ei ddychweliad yn ol; canys yr oedd cynhwrf mawr drwy'r cylchoedd hyny er yr amser yr hysbyswyd iddo y caffai hwynt, a phawb mewn dysgwyliad neu ofnau; tarawodd un o'r ddau Mr. Smith â phastwn cyn iddo eu gweled; ond gan ei fod yn ddyn cryf iawn, ac yn fawr o gorffolaeth, drwy ymdrech galed cafodd ei hun yn rhydd o'u gafaelion, a rhedodd tua chartref, a bwythau yn ei ddilyn hyd at dy ei dad o'r bron, ac wedi methu cael gafael ynddo drachefn, diangasant ymaith, a rhag ofn eu dala, ciliasant o'r wlad dan glwyfau, ac ni chlybuwyd son am danynt mwy; ond ddarfod i wraig un o honynt, yn mhen pymtheg mlynedd, ddygwydd bod mewn cwmni yn Lloegr lle yr oeddid yn traethu ystoriau am y gwaethaf am y saint, ac addef mai ei gŵr hi oedd un o'r ddau uchod, na fu byth yn iach wedi hyny, ond ei fod wedi marw o herwydd y peth, ac mai dyna'r achos iddi hithau adael y wlad. Ond cyn i'r ddau ddyn hyn ddianc taenasant y gair allan fod Mr. Smith wedi cael y llafnau aur, a buan yr aeth y swn drwy'r cylchoedd hyny, ac y dechreuasant

ddyfeisio ystoriau celwyddog, a chamgyhuddiadau er drygu ei gymmeriad, yn ol yr hyn a ddywedodd yr angel wrtho yn flaenorol; ac nid yn unig yr oedd pob math a rhywogaeth o chwedlau yn ehedeg ar adenydd yr awel am dano, ond mynych yr ymosodai terfysglu o ddynion drwg ar y ty yn y nos. Amryw weithiau y saethwyd ato, ac y bu mewn perygl mawr am ei fywyd. Pob dyfais a chynllwyn drwg ag a allent ddyfeisio, a gynygiwyd er cael y llafnau oddiarno. Gan fod ei fywyd mewn perygl o hyd oddiwrth y fath gynghorfa o ddynion creulon a dryg-ionus, penderfynodd ymadael o'r lle hwnw, a symud i Pensylfania; ac o ganlyniad rhoddodd yr ychydig nwyfau a fwriadai gymmeryd gydag ef mewn pedrolfen, gan guddio y llafnau yn ngwaelod barilaid o ffa. Nid aeth efe neppell cyn i ddyn ei oddiweddyd, a gorchymyn iddo sefyll, fod ganddo *search warrant* i chwilio ei bedrolfen, er na ddywedai am ba beth; ond gwyddai Mr. Smith mai ei amcan oedd cael gafael ar y llafnau; ac wedi chwilio pob man ond y lle yr oeddynt, aeth ymaith mewn siomedigaeth fawr. Wedi iddo fyned yn mlaen, daeth un arall yn yr un modd, a chyda'r un dyben, ac wedi troi y cyfan o'r bron y tu arall allan, aeth yntau ymaith yn ddigllon o herwydd ei siomedigaeth. Wedi hyny aeth Mr. Smith yn mlaen, heb neb i'w aflonyddu nes cyrhaedd cwr gogleddol Pensylvania, ar gyfer yr afon Susquehanah, lle y bwriadasai fyned wrth gychwyn.

---

## PENNOD IX.

### HANES CYFIEITHIAD Y LLAFNAU.

Wedi i Joseph Smith ddarparu iddo ei hun gartrefle, dechreuodd gyfieithu yr oraclau, drwy gymhorth Duw, ac offerynoldeb yr urim a'r thumim. Gan nad oedd efe ond ysgrifenydd anfedrus, cyflogodd ddyn i ysgrifenu y cyfieithiad o'i enau ei hun. Yn y cyfamser, copïwyd ychydig o hen lythyrenau y llafnau yn fanwl gan Mr. Smith, pa rai, ynghyd â'r cyfieithiad o rai o honynt, a ddygwyd gan foneddwr o'r enw Martin Harris, i ddinas Caerefrog Newydd, yr hwn a'u dangosodd i ieithwr dysgedig o'r enw Dr. Anthon, yr hwn a broffesai ei fod yn deall llawer a ieithoedd hen a diweddar. Wedi syllu arnynt yn fanwl am yspaid, dywedodd na allai eu cyfieithu yn gywir, ond cyfieithodd ambell rai yma a thraw, gan eu hysgrifenu ar bapyr; yna dywedodd, pe dygid y llyfr iddo, y gallai fod yn gynnorthwy i'w cyfieithu. Holai Mr. Harris yn eu cylch, gan bwy ac yn mha le y cafwyd; dywedodd mai *Egyptian hieroglyphics* hen iawn oeddynt, ac na wyddai am neb a allai eu cyfieithu yn gywirach na'i hunan. Gwrandawai yn astud iawn ar Mr. Harris yn adrodd yr hanes, hyd nes iddo ddywedyd mai angel a'u rhoddodd i ddyn ieuanc o'i gydnabod. Neidiodd y Doctor ar ei draed mewn gwylltineb, pan glywodd am yr angel. "Twyll, twyll i gyd," ebe ef; "sôn am angel yn awr yn wir!—celwydd i gyd—ymaith â chwi," ebe ef; a than waeddi "Pw, pw!" taflodd yr hyn a gyfieithasai y tu cefn i'r tân; ond bu Mr. Harris ddigon heinyf i'w cipio oddi yno cyn eu difa; ac er cymmaint ei ragfarn, cyhoeddwyd y cyfan yn y papyrau newyddion yno, ynghyd â'r ymddyddan a fu rhwng y ddau, a chyfaddefodd y Doctor wed'yn i'r gwirionedd o hono. A'r neb a

gred y Bibl, a gaiff hollol foddlonrwydd wrth gymharu y pethau hyn â'r hyn a welir yn Isaiah xxix, 11—"A gweledigaeth pob un o honynt sydd i chwi fel GEIRIAU llyfr seliedig, yr hwn os rhoddant ef at un a fedr ar lyfr, gan ddywedyd, Darllen hwn, attolwg; yna y dywed, Ni allaf; canys seliwyd ef." Adn. 12—"Os rhoddir y LLYFR at yr hwn ni fedr ar lyfr, gan ddywedyd, Darllen hwn, attolwg; yna y dywed, Ni fedraf ar lyfr." Wele gyflawniad llythyrenol o brophwydoliaeth hynod, yn mhen dros ddwy fil o flynyddoedd wedi ei chyhoeddi, a thair gwaith cynnifer â hyny o filltiroedd o'r fan lle ei thraddodwyd! Onid yw yn dystiolaeth gadarn? Gwelir mai GEIRIAU y llyfr oedd i'w rhoddi i'r dysgedig, ïe, geiriau y llyfr "seliedig" hwnw. Ond rhoddid y LLYFR ei hun "i'r hwn ni fedrai ar lyfr," sef Joseph Smith; ac felly y gwnaed. Efallai y rhyfedda rhai o rai "ofnadwy" a "gwatwarus" yr oes hon ein bod yn anturio profi geirwiredd Llyfr Mormon drwy yr ysgrythyrau, ond ni raid iddynt mwyach; canys oni bai fod y Bibl yn ei brofi yn wir, ni chredid mo hono genym ni mwy nâ hwythau. O, ydynt; mae y prophwydi wedi dweyd yn eglur am dano mewn llawer oes, ynghyd â'r gwaith mawr a gogoneddus a wnelai Duw ar y ddaear, pan yr amlygai Lyfr Mormon i'r byd: gwel adn. 14 o'r un bennod—"Am hyny, wele fi yn myned rhagof i wneuthur yn rhyfedd yn mysg y *bobl hyn*, sef *gwyrthiau* a *rhyfeddodau;* canys dyfethir doethineb eu doethion hwynt, a deall eu rhai deallgar hwynt a ymguddia." Er gweled pa bryd yr oedd y pethau hyn i gymmeryd lle, dilyner "*y bobl hyn*" yna. Gwel yr adnod flaenorol—"Oherwydd bod y *bobl hyn* yn nesâu ataf â'u geneuau, ac yn fy anrhydeddu â'u gwefusau, a phellhau o'u calon oddiwrthyf, a bod eu hofn tuag ataf fi wedi ei ddysgu allan o athrawiaethau dynion." "*Y bobl hyn*" fydd yn cyd-oesi â dyfodiad "y llyfr seliedig" i'r amlwg. Pe buasai y prophwyd yn byw yn y bedwaredd ganrif ar bymtheg, ai tybied y gallasai roddi desgrifiad manylach a chywreiniach o honi, nag a roes yma?

Dywed rhai fod y pethau hyn wedi eu cyflawni yn y cyn oesoedd; ond darllened y cyfryw hi etto, er deall yn well, yn enwedig adn. 17—"Onid ychydig bach fydd etto [sef ar ol dechreu y gwaith mawr, pan amlygir "y llyfr seliedig"], hyd oni throir Libanus [anialwch eang yn Palestina] yn ddoldir, a'r doldir a gyfrifir yn goed." Adn. 18—"A'r dydd HWNW, y rhai byddar a glywant *eiriau y* LLYFR, a llygaid y deillion a welant allan o niwl a thywyllwch." Dyna wyrthiau mawr, onide? etto, nid mwy nag a gyflawnwyd eisoes er pan ddaeth y llyfr seliedig hwn i'r amlwg; h. y., os gwir a dystia y llygaid hyn i mi. Amlwg yw, drwy y bennod hon, ond yn neillduol adn. 22, mai gwaith mor ddiweddar â'n hoes ni yw hwn, pan y bydd yr Arglwydd yn cyflawni ei gyfammod ag Abraham, sef—"Myfi a roddaf i ti, ac i'th hâd, wlad dy ymdaith yn etifeddiaeth byth ac yn dragywydd;" ac yma dywed, "Weithian ni chywilyddir Jacob [ei hâd yn mhlith y cenedloedd], ac ni lasa ei wyneb ef." Paham hyny? Adn. 23 a etyb—"Eithr pan welo ei feibion, gwaith fy nwylaw, o'i fewn [yn meddiannu "gwlad ei ymdaith," wedi eu gwasgariad diweddaf], hwy a santeiddiant fy enw; ïe, santeiddiant *Sanct* Jacob [Iesu Grist, eu Messiah], ac a ofnant Dduw Israel." Am wrthod "Sanct yr Israel," eu gwasgared i bedwar cwr y byd. Gan mai yr un yw Jacob ac Israel, yr un yw

Sanct y naill enw a'r llall; a gŵyr pawb nad yw holl Israel yn santeiddio enw Mab Duw hyd yn hyn, ond ei wrthod am dwyllwr; ond pan gwblheir y brophwydoliaeth uchod, credant ynddo, er nad cyn eu casglu yn ol i'w gwlad ychwaith, ond wedi hyny. Felly, y mae yn ddigon eglur fod Isaiah, heblaw llawer o brophwydi ereill, yn profi dwyfoldeb Llyfr Mormon, y rhai a ddygir yn mlaen yn eu pryd; ond am y tro hwn, awn yn mlaen gyda'r hanes.

Parhaodd Mr. Smith i gyfieithu, mor ddiwyd ag y caniatâi ei amgylchiadau iddo wneyd, hyd nes gorphen y rhan anseliedig o'r llafnau, yr hyn a enwir yn "Llyfr Mormon," ac a gynnwysa yn agos gymmaint o ddarllen â'r Hen Destament.

---

## PENNOD X.

### LLYFR MORMON—EI DDESGRIFIAD.

Yr ydym wedi rhoddi hanes byr, yn y bennod flaenorol, am darddiad y llyfr rhyfeddol hwn, ag sydd wedi peri y fath gynhwrf, llawenydd, celwyddau, a gwirioneddau, wedi achosi y fath chwyldroad annhraethol drwy bedwar cwr y byd, nes y mae yr holl bobloedd o'r bron eisoes yn ymfyddino o'i blaid, neu i'w erbyn. Er pan ymddangosodd gyntaf i'r byd, ymosododd bugeiliaid a phenaethiaid y bobl i'w erbyn â holl nerth eu pen; eipiodd awduron eu chwedlau dyfeisiol hwythau, nes y mae clustiau y bobloedd yn merwino, gan sŵn eu clychau yn tincian, "Twyllwyr, gau-athrawon, gau-brophwydi, ffyliaid, dichellwyr cyfrwys, celwyddwyr," &c., &c.; ac y mae hyny yn adleisio oddiar flaenau tafodau crefyddwyr, meddwon, cablwyr dysgedig ac annysgedig. Y maent erbyn hyn wedi lleisio ac adleisio nes syfrdanu y byd o'r bron, a bod yn ddefnyddiol, er o'u hanfodd, i rybyddio y bobloedd am dano; ac yn nghanol y dwndwr i gyd, y mae y rhai gonest eu hegwyddor, sydd yn chwilio am y gwir, yn gofyn iddynt, beth yw yr achos o'r holl gynhwrf rhyfedd hwn? Paham yr ymuna pawb, o bob plaid a diblaid, mawr a bach, boneddig a gwreng, yn mhob gwlad, i wrthwynebu y bobl hyn? Yr unig ateb a ellid gael ganddynt fyddai:—"O, ni wyddom ni yn iawn beth yw y mater, ond fod rhyw ddynionach twyllodrus a diddysg wedi dyfod i'n plith, fel yr apostolion gynt, gan dystiolaethu fod angylion wedi ymddangos i ryw ddynion yn y dyddiau hyn; proffesant gael dadguddiadau, gwyrthiau, &c., fel pe bai eisieu adferu crefydd y cyn-oesoedd, a'r ffydd hòno unwaith a roddwyd i'r saint, i'n plith ni yn yr oes oleu hon; a thrwy hyny peryglant yr holl grefyddau a'r sectau lliosog a roddes ein tadau duwiol i ni, pa rai ydynt wedi eu goruwch adeiladu ar sail doethineb duwinyddion a mawrion y byd i gyd, yn annibynol ar Ysbryd Duw, a'i holl ffeithiau; dyma yr achos" (meddant); ac yna yn unllef dyrchafant eu llais, gan waeddi. "Mawr yw doethineb ddynol, mawrion ac ardderchog yw ffurfiau newyddion credoau duwinyddol yr oes hon; mawr yw medrusrwydd ein bugeiliaid anysbrydoledig, y rhai ni fynant wybod dim ond eu dychymmygion a'u hopiniynau eu hunain, a rhyfedd fel y boddiant ni â geiriau denu o ddoethineb ddynol heb fod yn eglurhad yr Ysbryd a nerth, canys nid oes eisiau hyny yn awr; onide byddai ein ffydd yn

sefyll ar allu Duw yn lle bod ar ddoethineb y doethion." Nid rhyfedd, ynte, fod mor anhawdd cael gan y werinos, yn nghanol y fath ddwndwr a syfrdandod, wrandaw na chredu hyd y nod y newyddion goreu, melysaf, a hynotaf a gynygiwyd iddynt erioed.

Ni fu un llyfr erioed, debygaf, a gafodd ddweyd cymmaint i'w erbyn gan rai oeddynt yn gwybod cyn lleied am dano, â Llyfr Mormon. Yn mhob gwlad lle yr elo, gorlenwir clustiau y werinos ag ystoriau a chwedlau mor lliosog ac amrywiol â'u hawdwyr, ac o ganlyniad yn croesi eu gilydd; llawer o honynt wedi eu cyhoeddi a'u pregethu gan rai na welsant y llyfr erioed; ereill gan rai a darawsant eu trem yma a thraw ynddo, yn bwrpasol i bigo gwallau; ac nid anfynych y gwelir dyfyniadau o hono wedi eu gŵyrdroi a'u dirdynnu yn fawr. Desgrifia rhai ef fel dyfais-chwedl; dywed ereill mai Bibl newydd, i ddifuddio yr hen ydyw. Condemnia y naill ef am y tusw o ffolineb mwyaf disylw a welsant; creill, mai y cywreiniaf o dwyll oedd yn bosibl ei wneyd yw. Beia rhai arno o herwydd ei fod yn rhy debyg i'r Bibl, yn cyd-dystiolaethu ag ef, ac yna yn afreidiol; ond haera y lleill mai twyll yw, o herwydd nad yw yn tebygu digon i'r Bibl. Condemnia rhai yr egwyddorion a gynnwysa am eu bod yn anfoesol, hollol ddrygionus, a chableddus; ond cyhoedda ereill o'u brodyr yn eu hwynebau, fod yr egwyddorion yn dysgu moesoldeb, diweirdeb, a santeiddrwydd, fel pe bai wedi ei gyfansoddi yn bwrpasol o dwyllo y ffordd hyny. Yn mhlith ereill, trafferthodd un gweinidog dysgedig gymmaint ag i gyhoeddi traethawd yn 60 tud., yn erbyn Llyfr Mormon, &c., gan ei gyhuddo yn ddiarbed o fod yn gynnwysedig o ryw gymmysgedd rhyfeddol o ffol, "*o ffydd a gweithredoedd, o drugareddau Duw, ac o ofyn ufydddod gan ei greaduriaid.*" Cyhoeddodd rhai o wyr mawr yr oes fod ei briod-ddull, ei iaith, a'i gynnwysiad yn profi ei henafiaeth; ac ereill o'r un dosbarth, ei fod yn dwyn pob nodwedd o ffug-waith diweddar. Y mae rhai yn methu dirnad pa ddefnydd a ddichon fod, na'r modd i brofi ei eirwiredd, o eisieu na bai ynddo ryw brophwydoliaethau i gael eu cyflawni, wrth ba rai y gallent brofi ei ddwyfoldeb; dyfyna ereill yn helaeth o'r prophwydoliaethau sydd ar gael eu cyflawni, a chondemniant ef am fod yn rhy eglur: nid felly y gwnai yr hen brophwydi, meddant.

Yn awr, yn ngwyneb y fath amrywiaeth o groes-haeriadau am beth mor angenrheidiol i'w iawn ddeall, byddai nid yn unig yn fuddiol iawn, ond dyledus i'r cyffredin i roddi crynodeb o gynnwysiad Llyfr Mormon o'u blaen, hyd nes y gallom ei argraffu yn y Gymraeg; er nad, fe!lein cyhuddir, *yn lle* nac i *ddifuddio* y Bibl cyssegrlan, mewn un dull na modd. Nid oes un gair ynddo yn croesi y Bibl, ond y mae yn profi dwyfoldeb y Bibl yn anwadadwy, fel na raid ond ei ddarllen, er symud ymaith nid yn unig y camgyhuddiad yna, ond pob un arall, a chredu ei eirwiredd ef a'r Bibl hefyd.

---

## PENNOD XI.

### CYN-BRESWYLWYR AMERICA.

Yn y gyfrol werthfawr hon y ceir hanes cyntefig y cyfandir Americanaidd, er ei sefydliad boreuol gan drefedigaeth a ddaethant iddo oddiwrth yr ysgariad mawr a gymmerodd le wrth dwr Babel, hyd ddechreu

y bummed ganrif o'r oes Gristionogol. Dengys yr oraclau hyn fod America yn y cyn-oesoedd wedi cael ei sefydlu gan ddwy hiliogaeth o frodorion; y gyntaf a ddaeth yn uniongyrchol o dwr Babel, ac a elwid Jarediaid; yr ail a ddaeth o ddinas Jerusalem, oddeutu chwe chant o flynyddau cyn Crist; Israeliaid gan mwyaf o lwyth Joseph. Dystrywiwyd y genedl gyntaf, sef y Jarediaid, oddeutu yr amser y daeth yr Israeliaid o Jerusalem, y rhai a feddiannasant y wlad ar eu hol hwynt. Tua diwedd y bedwaredd ganrif lladdwyd y mwyrif o'r ail genedl drwy ryfel, a'r gweddill a adfeiliasant yn raddol i anwareidd-dra, nes ymranu yn llawer o genedloedd, pa rai a enwir yn awr gan Ewropiaid, "Yr Indiaid Americanaidd."

Hysbysa yr hen lyfr hwn ni hefyd, fod y Jarediaid yn bobl gyfiawn, ddarfod iddynt gael ffafr yn ngolwg yr Arglwydd, fel na chymmysgwyd eu hiaith hwy fel ereill; ond o herwydd eu cyfiawnder, fod yr Arglwydd wedi eu harwain oddiwrth y tŵr hyd y môr mawr, a gorchymyn iddynt adeiladu llongau, yn mha rai yr hwyliasant dros y môr mawr, ac y tiriasant ar gyfandir Gogledd America. Tyngodd yr Arglwydd wrthynt yn ei lid, os na wasanaethai y rhai a etifeddent y wlad addewedig hon ef, yr unig wir Dduw, mewn cyfiawnder, y dyfethai efe hwynt yn ei ddigllonrwydd, pan gyflawnent fesur eu hanwiredd. Ond addawodd, os cadwent ei orchymynion, y gwnelai hwynt y genedl fwyaf a grymusaf o holl genedlaethau y ddaear.

Yn mhen amser cynnyddasant yn ddirfawr, nes dod yn bobl lliosog a nerthol, yn gwladychu dros ran fawr o'r wlad, gan adeiladu dinasoedd mawrion a lliosog, a bod yn bobl wareiddiol a chysurus. Yr oeddynt yn deall amaethyddiaeth a pheiriannau celfyddydol i raddau helaeth. Yr oedd marsiandiaeth, a phob masgnach yn blodeuo ar bob llaw; ond er hyny, ymwelai yr Arglwydd â hwynt yn aml yn ei farnedigaethau, o herwydd eu drygioni. Llawer o brophwydi a gyfodwyd yn eu plith o oes i oes, y rhai a rybyddiasant y bobloedd i adael eu ffyrdd drygionus, ac a brophwydasant am y barnau a'r dinystr a fyddai yn eu goddiweddyd onid edifarhaent. Weithiau ymwelid â hwynt drwy heintiau a phläau; dro arall drwy newyn a rhyfel, nes o'r diwedd (wedi iddynt fod yn trigo yn y wlad am oddeutu un cant ar bymtheg o flynyddau) i'w drygioni amlhau, hyd oni fygythiodd yr Arglwydd drwy enau ei brophwydi, eu diddymu yn hollol oddiar wyneb y wlad. Er hyny nid ystyriasant, nes i'r Arglwydd gwblhau ei air, a'u llwyr ddyfetha, gan adael eu tai, eu dinasoedd, a'u meddiannau yn anghyfanedd. Eu horaclau santaidd, pa rai a gedwid ar y llafnau aur, a guddiwyd gan un o'u prophwydi diweddaf, nes eu darganfod gan weddillion Joseph, pa rai a ddaethant yno o Jerusalem, yn fuan wedi hyny, i etifeddu y wlad.

---

## PENNOD XII.

### PRESWYLWYR IUDDEWIG AMERICA.

Arweiniwyd y gweddill hyn o lwyth Joseph, mewn modd gwyrthiol, o Jerusalem, yn y flwyddyn gyntaf o deyrnasiad Zedekiah, brenin Judah. Arweiniwyd hwynt yn gyntaf i'r ochr ddwyreiniol i'r Môr Coch, ac

oddiyno ar hyd ei ochr tua'r de-ddwyrain, ac wedi hyny i'r dwyrain, hyd nes dyfod o honynt hyd y Môr Mawr. Yno yr adeiladasant long, yn ol gorchymyn Duw, yn yr hon y dygwyd hwynt drosto yn ddiogel, gan dirio ar yr ochr ddwyreiniol o gyfandir America. Yn yr unfed flwyddyn ar ddeg o deyrnasiad Zedekiah, oddeutu yr amser y caethgludwyd yr Iuddewon i Babilon, daeth ychwaneg o bobl o Jerusalem, ac yn eu plith rai o lwyth Judah, y rhai a diriasant yn ngogledd-barth America, ac a dramwyasant hyd ochrau gogleddol y deheu-barth, a thrigasant yno, hyd oni chafwyd hwynt allan gan weddill Joseph tua phedwar cant o flynyddau wedi hyny.

Drwy yr oraclau hyn canfyddir fod gweddillion Joseph wedi ymranu yn ddwy genedl, yn fuan wedi dyfod drosodd i'r wlad. Achoswyd yr ymraniad drwy i'r naill ran, yn eu drygioni, erlid ac ymlid y rhan arall ag oeddent gyfiawnach nâ hwynt, nes dyfod o honynt i barthau gogleddol y deheu-barth, a gadael y rhanau canol a deheuol yn meddiant y genedl ddrygionus. Enw y genedl gyntaf oedd Nephiaid, oherwydd yr arweinid hwynt gan brophwyd o'r enw Nephi. Gelwid y genedl arall Lamaniaid, oherwydd eu harwain gan ddyn drygionus o'r enw Laman. Yr oedd y Nephiaid yn meddu copi o bum llyfr Moses, ynghyd ag ysgrifeniadau y prophwydi santaidd hyd Jeremiah, yn nyddiau yr hwn y gadawsant Jerusalem; pa rai oeddent wedi eu cerfio ar lafnau, yn y llythyrenau Aifftaidd. Yn fuant wedi iddynt ddyfod i'r wlad, gwnaethent hwythau lafnau hefyd, gan gerfio arnynt eu hanes, ynghyd â llawer o'r prophwydoliaethau, gweledigaethau, a'r dadguddiadau a gawsant. Cedwid yr oraclau cyssegredig hyn gan ddynion santaidd ac ysbrydoledig, pa rai a'u traddodasant i wared o genedlaeth i genedlaeth. Rhoddodd yr Arglwydd iddynt yr holl gyfandir mewn addewid, fel yr etifeddent ef, a'u had ar eu hol, ar yr ammodau o ufydd-dod i'w orchymynion; neu, os anufyddhaent, y torid hwynt ymaith o'i wyddfod. A'r Nephiaid a ffynasant yn y tir yn gymmesur i'w cyfiawnder, ac a amlhasant yn ddirfawr, gan ymestyn tua'r dwyrain, gorllewin, a gogledd: adeiladasant ddinasoedd, synagogau, a themlau, ynghyd â thyrau, cestyll, gwrthgloddiau, ac amddiffynfaau cedyrn, i'w diogelu rhag eu gelynion. Llafuriasant y ddaear, a chodent gnydau amrywiol a thoreithiog; meddiannent ddiadelloedd mawrion, a llawer o anifeiliaid gwasanaethgar; hyd onid oeddent yn bobl ddedwydd, ac wedi ymgyfoethogi, gan amlder eu haur, arian, copr, alcam, haiarn. Yr oeddent yn gywrain iawn mewn celfyddydau; gwnaent amryw beiriannau cywrain a defnyddiol; gwnaent amrywiaeth o frethynau, &c. Cleddyfau, bidogau, a llawer math o arfau rhyfel, heblaw tarianau ac estylch, a wneid, ac a ddefnyddid ganddynt, i ymladd â'u gelynion. Ac yn nyddiau eu cyfiawnder, yr oeddynt yn bobl waraidd, medrus, a dedwydd.

Ond, o'r ochr arall, darfu i'r Lamaniaid, o herwydd caledrwydd eu calonau a'u hanufydd-dod, ddwyn barnau Duw ar eu penau mewn llawer o ffyrdd; etto, ni ddyfethwyd hwynt o fod yn genedl, ond melldithiodd yr Arglwydd Dduw hwynt, nes iddynt ddirywio a myned yn bobl annheg yr olwg, eu lliw, a'u harferion; ie, yn bobl ffiaidd, yn bobl anwaraidd, greulon, a gwaedlyd; yn elyniaethus iawn i'r Nephiaid, pa rai a geisient oresgyn a dyfetha. Mynych y casglent eu byddinoedd lliosog yn eu herbyn i ryfel; ond gyrid hwynt yn ol gan y Nephiaid bron bob amser, er nad heb golled fawr o'r ddeutu; ac nid anfynych y lleddid miloedd

yn eu brwydrau, pa rai a bentyrid yn gelanedddau, ac a orchuddid â phridd, yr hyn a brofir yn wirioneddol drwy y moelydd lliosog a geir yn neau a gogledd America hyd heddyw, yn llawn o esgyrn dynion, &c.

Yr ail drefedigaeth a ymadawsant â Jerusalem un mlynedd ar ddeg ar ol gweddill Joseph, a drigasant yn y gogledd, ac wedi hyny a dramwyasant i'r deau, hyd oni chafwyd hwynt gan y Nephiaid; y rhai hyn a elwid pobl Zarahemla. Yr oeddent hwythau wedi myned i ddirywiad mawr, ac yr oedd rhyfel cartrefol yn eu plith er ys blynyddau, ac ni ddygasent hwy oraclau gyda hwynt; felly, yr oedd eu hiaith hefyd wedi llygru a chyfnewid yn fawr. Gwadent y bôd o Dduw; ac er yn bobl lliosog, nid oeddent ond mewn gradd anmherffaith o wareidd-dra, pan ymwelodd y Nephiaid â hwynt. Ond yn mhen amser, wedi i'r Nephiaid ymuno â hwynt, dysgasant iddynt yr ysgrythyrau oedd yn eu meddiant; gwareiddiasant hwynt, ac a'u gwnaethant yn un genedl â hwy eu hunain. Yn mhen yspaid o amser, adeiladodd y Nephiaid longau yn agos i Isthmus Dorien, yn y rhai yr ymfudodd llawer o honynt tua'r gogledd, ac a wladychasant yno. Trefedigaethau ereill a dramwyasant ar hyd y tir i'r un man; ac felly, yn mhen cannoedd o flynyddau, poblogwyd y cyfandir oll o'r bron. Yr oedd y gogledd-barth y pryd hyn yn amddifad iawn o goed, oherwydd fod y brodorion cynteg wedi eu dystrywio; sef y rhai hyny a ddaethant yno gyntaf oddiwrth dwr Babel, fel y soniwyd; ac o herwydd hyny gorfuwyd y Nephiaid i adeiladu eu tai, gan mwyaf o *cement:* cludent lawer o goed yno hefyd o'r deheu-barth, a phlanasant amryw fathau o goedydd yno hefyd, y rhai a ddygid o'r deheu-barth, fel y tyfent i ddiwallu eu hanghenrheidiau yn yr amser dyfodol. Felly, adeiladwyd dinasoedd mawrion, nid yn unig gan y Nephiaid, ond gan y Lamaniaid hefyd, yn mhen amser. Cedwid cyfraith Moses gan y rhai cyntaf, a chododd Duw brophwydi yn eu plith o bryd i bryd drwy y cenedlaethau. Cedwid llawer o oraclau mawrion ganddynt, yn cynnwys pethau hanesyddol a phrophwydoliaethol, pa rai a gerfid ar lafnau aur, efydd, ac amryw ddefnyddiau ereill. Daethant o hyd hefyd i oraclau y genedl gyntefig a ddyfethwyd cyn iddynt hwy ddyfod yma, y rhai oedd wedi eu cerfio ar lafnau aur; cyfieithasant hwynt i'w hiaith eu hunain, drwy allu Duw, ac offerynoldeb yr urim a'r thummim. Cynnwysent hanes o greadigaeth y byd hyd dwr Babel, ac oddiyno hyd eu dinystr eu hunain, sef mil a phedwar neu bump cant o flynyddau. Cynnwysent hefyd amryw brophwydoliaethau mawrion a rhyfeddol, yn cyrhaedd yn mlaen mewn amseryddiaeth hyd ddiwedd amser y nef a'r ddaear newydd, a thynghedfen dragywyddol pob peth.

Prophwydi y Nephiaid hefyd a brophwydasant bethau mawrion, ac amlygwyd iddynt ddirgeledigaethau y tragywyddolfyd; rhagwelsant ddyfodiad y Messiah yn y cnawd, y pethau rhyfedd a mawrion a gymmerent le yn yr oesoedd dyfodol; y bendithion a'r gogoniant annhraethol a fwriada Duw i'w hâd hwy yn y dyddiau diweddaf, yn ol ei arfaeth dragywyddol yn y cynghor boreu. Torent allan mewn ffrydiau o lawenydd a chân, wrth syllu drwy eu hyspienddrychau dwyfol, ar sefydliad llywodraeth yr hedd, teyrnasiad heddychlon cyfiawnder, pan y byddai y byd wedi ei adferu yn lân. Cofus genym fel y tarawyd y cyhoedd â syndod yn ddiweddar, drwy fod rhyw astronomydd cyfoethog wedi adeiladu yspienddrych anferthol o faint, er gweled yn mhellach i'r eigion serenol, a deall eu rhifedi, eu cylchoedd,

a'u trefn. Ond teflid hwnw ac un Herschell hefyd i dir anghof, pe ceid dim ond cip-olwg drwy yr yspienddrych ardderchog hwnw, drwy ba un y gwelai yr hen brophwydi duwiol hyny, nid yn unig gylchoedd a gogoniant y cyrff lleuadawl ac agos, ond hefyd gyfansoddiad a sefydliad y bydoedd cyn canu o sêr y boreu, ac i feibion Duw lamu o lawenydd,—gwynfydedigrwydd anamgyffredadwy, a gogoniant anolrheiniadwy y trigfanau tragywyddol hyny, nas gwelodd llygaid, nas clywodd clustiau, ac na ddaeth i galon dyn eu dychymmygu. Hefyd, pan edrychent drwy y pen arall iddo, gwelent ddesgrifiad manwl a chywir o derfysgoedd cenedloedd, rhyfeloedd, heintiau, nodau, a phläau —barnedigaethau Duw ar amherodraethau, daeargrynfäau, a chwyldroadau; gwelent freninoedd yn ymdreiglo yn y llwch, ac amherawdwyr ar y tomenau. Ac, yn mhellach etto, gwelent saint y Goruchaf yn meddiannu y freniniaeth, a mawredd y freniniaeth, dan yr holl nefoedd—dyfodiad yr hen Ddihenydd, â'i ben fel gwlan, ac adferiad allweddau yr holl oruchwyliaethau i'w law—mawredd, gogoniant, ac ardderchogrwydd yr Ail Adda, yn dyfod yn fuddygoliaethus, a'i goron ar ei ben, ei deyrnwialen amherodraethol yn ei law, a'i holl saint gydag ef, yn eu cerbydau awyrawl a hardd;—ïe, dangosid iddynt yn awr ac eilwaith yn eu tro, hyd oni welent Frenin y breninoedd yn marchog ar ei farch gwyn, fel ar fôr o wydr, torf aneirif gydag ef mewn gogoniant, a mil myrdd yn taflu eu coronau wrth ei draed, gan ei wasanaethu a'i foli ef, yr hwn a'u carodd, ac a'u prynodd, ac a'u golchodd yn ei waed, o bob llwyth, iaith, pobl, a chenedl dan y nef, ac a'u gwnaeth iddo ef yn freninoedd ac yn offeiriaid i deyrnasu *gydag Ef* ar y DDAEAR berffaith a dihalog. Drwy yr yspienddrych ardderchog hwnw, gwelodd y Nephiaid enedigaeth, croeshoeliad, ac adgyfodiad Mab Duw yn ngwlad eu henafiaid, a chyd-dystiai yr elfenau wybrenol a daearol ar y pryd, wirionedd prophwydoliaethau eu tadau. Ond er hyn oll, hwy a gwympasant i ddrygioni mawr, a erlidiasant saint Duw, a'r prophwydi, gan ladd a llabyddio y rhai a anfonai Duw atynt. Am hyny, oddeutu yr amser y croeshoeliwyd Mab Duw, tywalltodd Duw ei farnau arnynt. Tywyllwch y fagddu a amdôdd y cyfandir am yspaid, y ddaear gan ing a gofid dan eu camwedd a riddfanai yn erchyll, gan neidio fel bad o flaen cynddeiriog dònau y weilgi; y calch-greigiau gan ddychryn a holltent yn ysgyrion, gan ergydio yn ddarnau yn mhell oddiyno; mynyddoedd cedyrn a suddent i'r llawr, i guddio eu penau mewn cywilydd, ac yn eu cynddaredd digofus berwent nes dyrchafu gwaelodion eu dolydd breision i amdoi eu penau â gorchudd cymylawg, i aros yn gofadail i dystio i'r oesoedd a ddel fel y teimlai yr elfenau eithafion ing a gofid arteithiawl, pan yrid yr hoelion dur i ddwylaw glân yr hwn a'u gwnaeth; ïe, cydymdeimlent fel pe buasai brathiad y bicell lem a hir yn cyrhaedd drwy eigion eu hymysgaroedd hwythau, pan drywanai calon Creawdwr nef a daear. Llaweroedd o ddinasoedd mawr ar y pryd a beidiasant a bodoli; eu synagogau a'u temlau gwychion a ymrwygasant yn llarpiau; eu seiliau, ynghyd â'u dinasoedd a'u trigolion wrth y miloedd mewn manau yn gyflafan a lyncwyd o fod, i eigion tir angof—yno, i gofio ac addef cyflawniad llythyrenol prophwydoliaethau dwyfol eu tadau, yn ol Llyfr Mormon; ac yn Yucatan, Guatimala, Mexico, a llawer o fanau ereill

ar y cyfandir, y mae llynau brwmstanaidd a heilltion—adfeiliadau eu cestyll, eu dinasoedd caerog, a llu o ffeithiau ereill, yn aros hyd heddyw, yn dystion geirwir o gyflawniad prophwydoliaethau hynafiaid yr Indiaid Americanaidd, ac o ganlyniad o Lyfr Mormon. Drwy farnau ofnadwy dyfethodd yr Arglwydd y mwyrif o'r Nephiaid a'r Lamaniaid, fel na byddai gwaed y saint a'r prophwydi a laddasent, yn gwaeddi arno am ddial yn hwy.

---

## PENNOD XIII.

### YMDDANGOSIAD CRIST I'R INDIAID AMERICANAIDD—EU RHYFELOEDD—AC HANES MORMON.

Wedi i Grist adgyfodi o feirw, gorphen ei waith yn Jerusalem, ac esgyn ar ddeheulaw y Mawredd yn y goruwch-leoedd, efe a ymddangosodd i'r rhai cyfiawnaf o'r Nephiaid, pan oeddent wedi ymgynnull oddi amgylch eu teml yn yr ochr ogleddol i ddeheubarth yr Amerig. Dangosodd iddynt ôl yr hoelion yn ei ddwylaw a'i draed, a'i ystlys rwygiedig; diddymodd gyfraith Moses, gan sefydlu ei efengyl yn ei lle; efe a ddewisodd o honynt ddeuddeg o ddyscyblion i'w phregethu, a gweinyddu ei hordinhadau, ynghyd â'r sacrament. Gweddiodd dros, a bendithiodd eu plant; iachaodd eu cleifion, eu deillion, eu byddariaid, eu hanafusion, a'r holl rai cystuddiol o bob afiechyd. Dangosodd ei allu yn eu plith, drwy roddi bywyd i'r marw; eglurhaodd iddynt yr ysgrythyrau a roddasid iddynt o'r dechreuad hyd y pryd hyny, ac amlygodd iddynt hefyd y pethau mwyaf nodedig a gogoneddus a gyflawnai efe yn eu plith hwy, a'u had ar eu hol, hyd oni ddeuai efe yn nghyflawnder yr amseroedd mewn gogoniant; ac o'r pryd hyny, hyd y diwedd, pan gesglid pawb, o bob llwyth, iaith, pobl, a chenedl, o bob oes a gwlad, gerbron gorsedd-fainc Duw, i'w barnu yn ol y gweithredoedd a wnaethant yn y cnawd, pa un bynag a fyddent ai da ai drwg, hyd onid elai y nef a'r ddaear heibio, a bod nef a daear newydd. Yr holl ddadguddiadau hyn o eiddo Crist a gerfiwyd ar lafnau; ac y mae Llyfr Mormon yn cynnwys dyfyniadau o rai o honynt, ond y mae y mwyrif o honynt o lawer yn guddiedig hyd heddyw, ac i gael eu dadguddio i'r Saint yn amser da Duw, er cyflawni ei amcanion. Nid y'm yn ammau, nad ystyrir yn beth rhyfedd, ac efallai yn ammheus gan rai, fod Iesu Grist wedi ymddangos yn bersonol ar y cyfandir; ac etto, ni allaf ddirnad pa wrthddadl a ddichon, hyd y nod Rhagfarn ei hun, ddwyn i'w wrthbrofi. Pe gofynid i'r cyfryw, at bwy y cyfeiriai Crist pan y dywedodd, "Defaid ereill sydd genyf, y rhai nid ynt o'r gorlan hon; y rhai hyny hefyd sydd raid i mi eu cyrchu, a'm llais i a wrandawant; a byddant un gorlan" (Ioan x, 16). Nid y Cenedloedd a feddylia, oherwydd nad *defaid* y galwai hwynt, na neb arall ond "defaid cyfrgolledig ty Israel." Dywedodd na ddaeth ond at y "*defaid*," ie, defaid hefyd o ryw "gorlan" [gwlad] arall, heblaw Palestina. Paham, ynte, nad ellir addef mai at y "gweddillion Joseph" hyn y cyfeiria? Ni ddichon yma gyfeirio at y Cenedloedd ychwaith, oherwydd dywed, "A'm *llais*

D.

*i* a wrandawant." Nid llais ei weision, ond ei lais *ef*, fel y clywodd y defaid hyny ei lais yn Judea. Pan brofir nad atynt hwy y cyfeiria Crist yn y dywediad rhyfedd hwn, deuwn ag adnodau ereill a brofant yn eglurach yn gadarnhaol; ond hyd hyny, rhaid addef fod Iesu Grist ei hun, ïe, yn ein Bibl ni, yn profi geirwiredd Llyfr Mormon!

Wedi i Iesu Grist orphen ei weinidogaeth yn mhlith y Nephiaid, efe a esgynodd i'r nefoedd yn eu gwydd hwy oll; a'r deuddeg dyscybl a anfonasai efe, a aethant allan drwy'r wlad, gan bregethu ei efengyl ef, a bedyddio y rhai a edifarhaent, er maddeuant pechodau; ac wedi hyny, derbynient yr Ysbryd Glân drwy arddodiad dwylaw y dyscyblion. Llawer o wyrthiau mawrion a wnaethwyd drwyddynt hwy ac ereill yn yr eglwys, hyd onid ufyddhaodd y gweddill o'r Nephiaid a'r Lamaniaid o'r bron drwy y de a'r gogledd; a hwy a barhasant yn ffyrdd cyfiawnder am yn agos i dri chan mlynedd: ond tua dechreu y bedwaredd ganrif o'r oes Gristionogol, gwrthgiliasant oddiwrth ffyrdd yr Arglwydd, hyd oni thywalltodd efe ei farnau dinystriol arnynt drachefn. Trigai y Nephiaid y pryd hyn yn y gogledd, a'r Lamaniaid yn neheubarth yr Amerig. Bu rhyfeloedd creulon rhyngddynt am flynyddau, nes dadymchwel y Nephiaid, a'u dyfetha o fod yn genedl. Dechreuodd y rhyfeloedd hyn oddeutu gwddf-dir Darien, nes yn mhen amser gyrwyd y Nephiaid o flaen eu gelynion tua'r gogledd a'r tu dwyreiniol iddo, y rhai a barhasant i'w hymlid, hyd oni chasglasant yr holl rai oedd yn ngweddill o'u cenedl, yn wyr, gwragedd, a phlant, ac a wersyllasant oddiamgylch mynydd Cumorah, yn yr hwn y darganfyddwyd yr oraclau gan Joseph Smith, fel y nodwyd eisoes. Yma hefyd yr ymlidiodd y Lamaniaid ar eu hol; ac wedi casglu eu byddinoedd lliosog ynghyd, ymosodasant arnynt, ac a'u tarawsant â lladdfa galed am ddyddiau lawer, gan dori i lawr yn ddiarbed yr hen, yr ieuanc, a'r canol-oed, yn ddiwahan. Lladdwyd cannoedd o filoedd o bob tu, ac holl genedl y Nephiaid a lwyr-ddyfethwyd oddiar y ddaear, oddieithr ychydig a ddiangasant at y Lamaniaid, rhai a ddiangasant i'r deheubarth, a'r ychydig a adawwyd yn archolledig ar y maes am feirw. Yn mhlith yr olaf yr oedd Mormon, a'i fab Moroni, y rhai oeddynt yn wyr cyfiawn.

Yr oedd Mormon wedi gwneyd talfyriad o oraclau ei gyn-dadau ar lafnau, yr hwn a alwodd efe yn "*Lyfr Mormon;*" ac yn ol gorchymyn Duw, cuddiodd holl oraclau cyssegredig ei dadau oedd yn ei feddiant, yn mynydd Cumorah; a Llyfr Mormon yn unig a roddodd efe i'w fab Moroni i'w gwblhau.

Bu Moroni fyw am ychydig flynyddau wedi y dinystr hyn ar ei genedl, ac a barhaodd yr oracl, yn yr hwn y dywed, ddarfod i'r Lamaniaid ymlid yr ychydig Nephiaid a ddiangasant o'r lladdfa annhraethol ar fynydd Cumorah, a'u lladd, ond y rhai a ffoisent at y Lamaniaid; ei fod ef wedi ei adael yn unig, a'i fod yn ymguddio, oherwydd eu bod yn lladd pob Nephiad na wadai Grist, hyd y nod ar ol y rhyfel. Dywed hefyd fod rhyfel cartrefol yn mhlith y Lamaniaid, hyd onid oeddent yn yspeilio a lladd eu gilydd dros wyneb y wlad. Parha ei hanes hyd yr ugeinfed flwyddyn a phedwar cant ar ol Crist, yn mha amser y cuddiodd Moroni yr oraclau yn mynydd Cumorah yn ol gorchymyn yr Arglwydd, a buont yn guddiedig yno, hyd oni ddad-

guddiwyd hwy, drwy weinidogaeth angylaidd, i Mr. Smith, yr hwn a'u cyfieithodd i'r Saesneg, drwy allu Duw, drwy'r urim a'r thumim, fel y mae yn hysbys.

---

## PENNOD XIV.

### TYSTIOLAETHAU AM LYFR MORMON.

Wedi rhoddi o bryd i bryd grynodeb o gynnwysiad Llyfr Mormon, y mae yn naturiol yn awr i ofyn, onid yw yn lyfr gwerthfawr? Dywed llawer, pe buasent yn gweled y llafnau ar ba rai y mae yn gerfiedig, y credent mai gwir yw: ond yr un peth i'r cyfryw ddweyd y credant fod Duw yn bod, pan welant ef; neu, y credent fod Crist wedi adgyfodi, pe buasent hwy wedi ei weled. Haera rhai y dylent gael gweled y llafnau hyny, cyn y dylent ei gredu. Dim ond ystyried ychydig, deuid i weled ei fod yn beth nesaf i anmhosiblrwydd i bawb yn mhob parth o'r byd, gael eu gweled. Pa hyd o amser, a pha faint a fuasai y gost, i'r un rhai fyned a dangos y llafnau i bob un o'r chwe chan miliwn o'r hil ddynol, canys ni allent eu dangos mewn ychwaneg nag un fan ar unwaith! Dywedai pob dyn rhesymol fod hyny yn anmhosibl. Wel, ynte, mor afresymol i'r cyfryw ofyn eu gweled, mwy nâ'r holl rai ereill. Os yw yn rhesymol i ryw un gredu tystiolaeth am hyn, heb eu gweled, felly pob un ynte. Beth yw y naill ddyn yn well nâ'r llall yn ngolwg Duw? Nid yw efe dderbyniwr gwyneb. Onid oedd ganddo cystal hawl i ddewis ei dystion i'r peth hyn, ag oedd gan Fab Duw i ddewis ei dystion o'i adgyfodiad? Y rhai a wrthodant dystiolaeth am hyn, ydynt yn efelychu y Phariseaid anghredinìol hyny a wrthodent dystiolaeth am adgyfodiad Crist, oherwydd na welsant hwy ef. Nid ydym ni yn dysgwyl i neb gredu Llyfr Mormon, nac un dadguddiad arall, a broffesa ddyfod oddiwrth Dduw, heb ddigonedd o dystiolaethau; canys ni wnawn ni hyny ein hunain. Ond, efallai y meddylia rhai fod yn rhyfyg i ni ddweyd, ein bod yn cynyg iddynt gymmaint ag sydd ganddynt i brofi geirwiredd yr ysgrythyrau; eithr anturiaf ddweyd, er fod digon o dystiolaethau anwrthwynebol er profi dwyfoldeb y gyfrol santaidd, yr hon yr ydym ni yn gredu yn drwyadl, etto y mae genym ychwaneg o brofion o wirionedd Llyfr Mormon nâ hyny! Ond, meddant, onid tystion pleidiol yw'r cyfan sydd genych; a pha beth yw gwerth tystiolaeth y Saint eu hunain am y peth sydd mewn dadl? Gofynaf finnau, Pa dystion sydd genym i brofi gwirionedd y Testament Newydd? Ni wn i am un tyst ond rhai hollol bleidiol, na dim ond chwech o'r rhai hyny, sef Mathew, Marc, Luc, Ioan, Pedr, a Phaul. Onid oeddent hwy yn bleidiol yn yr hyn oll a ysgrifenasant? ac a ydyw eu tystiolaeth hwy yn llai ei grym, oherwydd eu bod yn bleidiol yn y peth? Os nad yw, paham y mae tystiolaeth y tystion hyny a dystiant mor gadarn am wirionedd Llyfr Mormon, yn ddirym, ynte? O'm rhan i, addefaf nad allaf ddirnad pa fodd y ceir un tyst anmhleidiol am y naill na'r llall; oddieithr fod rhyw rai yn dywedyd eu bod hwy yn gwybod mai gwir yw Llyfr Mormon, ond er hyny y boddlonant hwy i

golli eu heneidiau yn hytrach nâ'i dderbyn, er mwyn bod yn dystion anmhleidiol, fel y credai ereill ef! Pwy a ddywedai yr anghredai ef y Testament Newydd, er bod yn dyst i ereill o'i wirionedd, ac yntau drwy hyny yn amddifadu ei hun o fywyd tragywyddol? Mor ffol a fyddai hyn; etto nid ffolach nâ dysgwyl cael tyst diduedd o Lyfr Mormon; canys yn y fan pan gredai ef, deuai yn bleidiol o anghenrhaid; ac oni wrthodid y cyfryw dyst pleidiol, am fod ei haeriad yn croesi ei *esiampl*, yr hyn yw'r tyst cywiraf o'r cyfan? "Onid yw'r gwyrthiau yn profi gwirionedd y Testament Newydd?" medd rhai; "ac onid oes lluoedd o'r rhai oedd i mewn ac allan o'r eglwys yn tystio eu gwirionedd?" Atebaf, o'r holl luoedd hyny, nid oes gymmaint ag un wedi rhoddi eu tystiolaeth i ni am hyny, ond yn unig y chwech pleidiol hyny. Y mae gwahaniaeth rhwng cael tystiolaeth y cyfryw eu hunain, a chael tystiolaeth ereill am danynt hwy! Os ateba y darllenydd y cwestiynau canlynol, yna, meddyliaf, y deuwn i'r un farn am hyn:—A welodd eich llygaid chwi y gwyrthiau yn cael eu gwneyd? A glywodd eich clustiau chwi hwy yn llefaru â thafodau? A welsoch ryw dyst â'u gwelodd hwy yn iachau gymmaint ag un claf? A ddarllenasech dystiolaeth gymmaint ag un tyst anmhleidiol allan o'r eglwys, a ddywed iddo eu gweled yn cyflawni un wyrth? Os credir y Testament Newydd heb gymmaint ag un tyst anmhleidiol, paham na ellir gwneyd felly â Llyfr Mormon? Yr ydym ni yn addef tystiolaeth y tystion pleidiol hyny yn ddigon i brofi gwirionedd y Testament, a dylai fod yn ddigon i bawb. Ond gwelir fod y rhai a wrthodant Lyfr Mormon, am fod y tystion yn bleidiol, yn gwrthod y Testament Newydd, yn ol yr un resymeg!

Oddiwrth yr hyn sydd wedi bod dan sylw yn flaenorol, y mae yn amlwg i bob meddwl diragfarn fod mwy o dystiolaethau yn bodoli dros eirwiredd y llyfr crybwyllig nag sydd dros y Testament Newydd, yn gymmaint a bod cannoedd yn awr yn fyw, ag sydd wedi dyfod i wybodaeth o wirionedd Llyfr Mormon, yn tystiolaethu am dano, pan nad oes neb yn fyw yn awr a allant dystio am wirionedd y Testament Newydd. Y mae genym ychwaneg o brofion a thystiolaethau i ddwyn gerbron ein darllenyddion, ond gadawn heibio yn awr, gan addaw rhoddi yn y bennod nesaf dystiolaethau y rhai hyny a welsant ac a deimlasant lafnau aur y llyfr, y rhai a eglurwyd iddynt trwy allu Duw, ac a wyddant mewn sicrwydd am danynt eu bod yn wir, ac wedi deilliaw oddiwrth yr henafiaid a grybwyllwyd yn flaenorol.

> "Cyd-dystia pob-peth yn dra chlir,
> Fod Llyfr Mormon oll yn wir."

---

## PENNOD XV.

### TYSTIOLAETHAU YCHWANEGOL AM EIRWIREDD LLYFR MORMON.

Dywedasom yn y bennod flaenorol fod ychwaneg o dystion er profi Llyfr Mormon nag sydd er profi y Testament Newydd. Ni feddylia

neb rhesymol, oherwydd fod profion mwy dros y naill, fod hyny yn lleihau dim ar yr hyn ydyw y llall.

| *Tystion i'r Testament Newydd.* | *Tystion o eirwiredd Llyfr Mormon.* |
| --- | --- |
| Chwech o lygad-dystion, wedi ysgrifenu yn eu hoes, er's deunaw can mlynedd yn ol, eu bod hwy a'u brodyr wedi gwneyd gwyrthiau. | Tri chan mil o lygad-dystion fod gwyrthiau yn cael eu gwneuthur yn yr oes hon. |
| Dim cymmaint ag un tyst byw ei fod ef wedi ei iachâu yn nyddiau yr apostolion;—mae y cyfan yn ymddibynu ar dystiolaeth y chwech. | Mae miloedd a dystiant yn ein dyddiau ni, eu bod hwy eu hunain wedi derbyn iechyd, heb orphwys dim ar dystiolaeth ail llaw. |
| Y mae chwech tyst y Testament Newydd wedi marw, fel na allwn groes-holi eu tystiolaeth. | Degau o filoedd o dystion am Lyfr Mormon yn awr yn fyw, yn greaduriaid rhesymol, ïe, yn Gymru, rai cannoedd o honynt, fel y gellir eu croes-holi. |
| Dim cymmaint ag un tyst anmhleidiol y tu allan i'r eglwys, o fod gwyrthiau wedi cael eu cyflawni yn nyddiau yr apostolion. | Cannoedd o filoedd o dystion geirwir fod Duw yn cyflawni gwyrthiau yn y dyddiau hyn drwy ei weision. |

Yn awr, onid yw yn amlwg fod mwy o dystion o wirionedd Llyfr Mormon, nag sydd wedi aros hyd yma i'r Testament Newydd? Er fod digon i brofi y naill yn wir, mae mwy yn bresennol dros y llall. Ac onid yw rheswm yn ein dysgu i farnu yn ol y tystion am y peth? Yna, os credir un o honynt, rhaid credu y ddau. Mae amryw, hyd y nod o'r cyfryw a broffesant fod yn ddysgedigion diduedd yn ein hoes, yn haeru na welodd neb y llafnau aur, &c., heblaw Joseph Smith; ïe, yn Merthyr, yn ddiweddar, darlithiodd rhai o gapel i gapel yn erbyn y llyfr hwn, pryd nad oeddynt wedi ei weled erioed; a phan gynygiwyd eu hunioni ar y pwnc, addefasant nad oeddynt yn dweyd yr ystoriau am wir, ond fel chwedlau y wlad. Mae y tystiolaethau canlynol yn argraffedig yn Llyfr Mormon; ac er hyny, cyhoeddodd dyn yn ddiweddar draethodyn bach dienw, llawn o chwedlau disail, ac yn mhlith yr anwireddau ereill, cyhoeddodd na welodd neb y llafnau, ond Joseph Smith—ïe, haera hyn pan oedd Llyfr Mormon wedi bod yn ei ddwylaw, ac yn ateb yn hollol groes iddo. Rhoddwn dystiolaeth y personau canlynol yn ychwanegol, oherwydd eu bod mor anmhleidiol ac anwrthwynebadwy ag sydd bosibl fod; canys dynion geirwir, gonest, ac uchel eu cymmeriadau, yr ystyrid hwynt gan eu cydnabod, hyd y pryd y gwelsant y pethau hyn, ac y tystiant am danynt i'r byd—ïe, amryw o honynt ar y pryd yn ddigon da i lanw lle oedd uchel yn yr eglwysi sectyddol: eithr parodd eu gwaith yn edrych ar, a thystio ynghylch y llafnau aur dan sylw, iddynt gael eu bwrw allan am ddrwg weithredwyr, fel y dywed Crist—"Hwy a'ch bwriant chwi allan o'r synagog." Er hyn ni allodd neb, ac ni all neb ychwaith, wrthbrofi eu tystiolaeth: ni wadodd un o honynt mo honi byth, fel y gwnaeth Pedr ac ereill, hyd y nod dan brofedigaeth; ond

seliodd rhai o honynt y gwirionedd o honi â'u gwaed, pan eu merthyrwyd o'i herwydd; cynygiwyd eu bywyd iddynt am ei gwadu, ond ni dderbyniasant hwy ymwared, "fel y gallent gael adgyfodiad gwell."

TYSTIOLAETHWYR I'R LLAFNAU AUR.

"Bydded hysbys i bawb yn mhob llwyth, iaith, pobl, a chenedl, y delo y peth hyn atynt, ddarfod i Joseph Smith, cyfieithydd y llyfr hwn [Mormon] ddangos i ni y llafnau cyfeiriedig, pa rai oeddynt debyg i aur: ni a deimlasom â'n dwylaw gynnifer o'r dalenau a gyfieithodd Mr. Smith, ac a welsom â'n llygaid y cerfiadau oedd arnynt, pa rai a ymddangosent o naddiad hen a chywrain. Mewn geiriau sobrwydd yr ydym yn tystio, fod y Smith cyfeiriedig wedi dangos y llafnau hyny i ni, ein bod wedi eu gweled, eu teimlo, a gwybod mewn gwirionedd eu bod hwy yn ei feddiant. Yr ydym yn rhoddi ein henwau gerbron y cyhoedd, yn dystiolaeth i'r byd o'r hyn a welsom; ac y mae'r Duw mawr yn dyst, mai gwirionedd didwyll yw ein geiriau.

| | |
|---|---|
| "CHRISTIAN WHITMER, | JOSEPH SMITH, Hynaf, |
| "HIRAM PAGE, | JOHN WHITMER, |
| "PETER WHITMER, Ieu., | HYRUM SMITH, |
| "JACOB WHITMER, | SAMUEL H. SMITH." |

Pwy ddyn rhesymol a ammheua wirionedd Llyfr Mormon yn hwy Pa lyfr yn y byd a ddaw ag ychwaneg o dystion o'i eirwiredd? Ac oni fyddai y cyfryw dystiolaeth yn oddefol o flaen pob llys, yn mhob gwlad? Ac etto nid dyma'r unig rai sydd o'i blaid; o lawer, rhoddwn ger eich bron am y tro hwn dystiolaeth tri ereill o ddynion cymmeradwy y wlad hòno, pa rai nid posibl eu bod wedi eu twyllo, na thwyllo ereill ychwaith.

"Yr ydym ni yn hysbysu, mewn sobrwydd, i bawb cenedloedd, llwythau, tafodieithoedd, a phobloedd, a welant y gwaith hwn, ein bod ni, drwy râs Duw Dad a'n Harglwydd Iesu Grist, wedi gweled y llafnau a gynnwysant y cof-lyfr hwn [Llyfr Mormon], pa un sydd gof-lyfr o bobl Nephi, a'u brodyr y Lamaniaid, ynghyd ag o bobl Jared, y rhai a ddaethant oddiwrth dwr Babel. Yr ydym ni yn gwybod ddarfod eu cyfieithu trwy ddawn a gallu Duw, canys ei leferydd ef a draethodd hyn i ni; ac felly yr ydym yn gwybod mewn sicrwydd diammheuol fod y pethau hyn yn wir. Yr ydym yn tystio hefyd ddarfod i ni weled y cerfiadau ar y llafnau; canys dangoswyd hwynt i ni trwy allu Duw, ac nid dyn. Yr ydym yn traethu hefyd mewn sobrwydd, ddyfod angel o'r nefoedd, a dangos y llafnau o flaen ein llygaid, nes y gwelsom hwynt ynghyd â'r cerfiadau arnynt; ac yr ydym yn gwybod mai trwy râs Duw Dad a'n Harglwydd Iesu Grist eu gwelsom. Felly y tystiwn y gwirioneddau hyn; ac y maent yn rhyfedd yn ein golwg ni. Etto llef yr Arglwydd a orchymynodd i ni ddwyn tystiolaeth o honynt; am hyny, mewn ufydd-dod i orchymynion Duw, yr ydym yn tystio y pethau hyn, gan wybod, os parhawn yn ffyddlon yn Nghrist, y byddwn lân oddiwrth waed pob dyn, ac y ceir ni yn ddifrycheulyd gerbron gorseddfainc Crist, i gael bod yn dragywyddol gydag ef. A'r gogoniant fo i'r Tad, Mab, a'r Ysbryd Glân, y rhai sydd un Duw. Amen.

| | |
|---|---|
| "OLIVER COWDERY, | MARTIN HARRIS." |
| "DAVID WHITMER, | |

# PENNOD XVI.

## AWDURDODIAD JOSEPH SMITH I FEDYDDIO, PREGETHU, &c., YNGHYD A DECHREUAD YR EGLWYS.

Yn y flwyddyn 1829, wedi i Mr. Smith a Mr. Cowderry ddeall, oddiwrth yr hyn a ddywedodd Crist wrth y Nephiaid, yn ol Llyfr Mormon, am y *dull* cywir o fedydd, teimlent awydd mawr i gael eu bedyddio; a chan na wyddent am neb a feddai yr awdurdod angenrheidiol i weinyddu yr ordinhad santaidd a phwysig hòno, gweddiasant yn daer ar i'r Arglwydd amlygu iddynt pa fodd yr adferid yr awdurdod anghenrheidiol i weinyddu ordinhadau yr efengyl; ac wele angel yr Arglwydd a safodd ger eu bron! a chan osod ei ddwylaw ar eu penau, efe a'u hordeiniodd, ac a orchymynodd iddynt fedyddio y naill y llall, ac felly y gwnaethant. Dichon yr amgylchiad rhyfedd hwn ymddangos yn anhygoel yn ngolwg rhagfarn yr oes hon. Ond nid dyma'r tro cyntaf i'r Arglwydd wneuthur eithriadau o ddeddfau gosodedig yr efengyl. Os credir yr ysgrythyrau, nid annhebyg i'r dull hwn yr anfonwyd Ioan Fedyddiwr allan i fedyddio; nid aeth efe, nac un arall o weision Duw erioed, i fedyddio, na gwneyd un peth arall yn ei enw ef, heb eu hanfon ganddo, dryw ryw gyfrwng neu gilydd. Dywed Ioan, "Yr *hwn* a'm *hanfonodd* i fedyddio â dwfr, *efe* a ddywedodd wrthyf." Dyma ei dystiolaeth ef; nid yn unig fod *rhyw un* wedi ei anfon, ond prawf hefyd mai rhyw brophwyd gwirioneddol a'i hanfonodd, oherwydd ei fod wedi rhag-ddweyd wrtho,—"Ar yr hwn y gwelych yr Ysbryd yn disgyn, ac yn aros arno, hwnw yw yr un sydd yn bedyddio â'r Ysbryd Glân." Mae Ioan, ynghyd â chyflawniad y brophwydoliaeth hon am Grist, yn tystio, mai rhyw brophwyd i Dduw a'i hanfonodd ef. A chan nad oedd neb prophwyd i Dduw ar y ddaear y pryd hyny, nac wedi bod, a'r a wyddom, er ys cant a hanner o flynyddau o leiaf, onid rhyw angel oddiwrth Dduw, "a fuasai o'i frodyr y prophwydi," a'i hordeiniodd yntau i fedyddio, tybied? Os felly, beth sydd yn afresymol mewn anfon angel yn yr un modd etto? Y mae yn amlwg, oddiwrth yr hyn a ganlyn, nad oedd gan y Lefiaid awdurdod i fedyddio, na'r offeiriaid ychwaith. Ioan i, 25—"A hwy [yr offeiriaid a'r Lefiaid, dros yr Iuddewon yn gyffredinol] a ofynasant iddo, Paham gan hyny yr wyt ti yn *bedyddio*, onid wyt ti na'r Crist, nac Elias, na'r prophwyd." Y mae yma addefiad fod Elias yn bedyddio yn awdurdodol, ac y gwnai y Crist hyny, ynghyd â'r prophwyd arall hwnw, pwy bynag oedd. Addefent hefyd nad oedd awdurdod ganddynt hwy eu hunain i fedyddio; ac felly ni allant hwy fod wedi anfon Ioan, er ei fod o'u hachau hwynt, yn fab i offeiriad. Wel, pwy a'i hanfonodd, ynte? Adn. 6 a etyb yn foddhaol—"Yr ydoedd gwr wedi ei anfon oddiwrth *Dduw*, a'i enw Ioan." A chan nad oedd gan Dduw was ar y ddaear a feddai hawl i ordeinio Ioan, efe a anfonodd angel yn ddiau i'w ordeinio ef, fel y gwnaeth yn y dyddiau diweddaf hyn i Joseph Smith, ac am ddim a wyddom ni, gall fod yr angel wedi bedyddio Ioan, ïe, a'i ddwylaw ei hun; canys nid tebyg y buasai yn ei anfon i fedyddio, cyn cael ei fedyddio ei hun. Gan Dduw yn unig y mae hawl i eithrio, ac i wneyd fel y myno; ac felly y gwnai o anghenrhaid ar sefydliad pob

goruchwyliaeth flaenorol, yn gystal â'r un ddiweddaf hon; ac oni wrthwynebai crefyddwyr yr oesoedd hyny y cyfryw eithriadau, fel y gwrthwynebir y pethau hyn yn awr?

Ond, i fyned â'r hanes yn mlaen, wedi adferyd yr awdurdod ddwyfol drachefn i ddynion yn y dull hwn, yn y flwyddyn 1830, cyhoeddwyd argraffiad mawr o Lyfr Mormon, am y tro cyntaf i'r byd. Ac fel yr oedd rhai yn ei chwilio yn ddiwyd, yr oedd Ysbryd yr Arglwydd yn cyd-dystio â'u hysbryd hwy i'w eirwiredd, a chan ufyddhau iddo, hwy a edifarhasant gerbron Duw, gyda chalon ddrylliog ac ysbryd cystuddiedig; a chladdwyd hwynt mewn dwfr er maddeuant o'u pechodau; ac wedi hyny, arddodwyd dwylaw arnynt yn ol gorchymyn Duw, fel y derbynient ddawn yr Ysbryd Glân. Ar y chweched dydd o Ebrill, 1830, yn nhref Manchester, swydd Ontario, talaeth Caerefrog Newydd, Unol Daleithiau yr Amerig, sefydlwyd Eglwys Iesu Grist, "*Saint y Dyddiau Diweddaf.*" Galwyd rhai drwy ddadguddiad ac ysbryd y brophwydoliaeth; ac wedi eu hordeinio, aethant oddi amgylch gan bregethu a dwyn tystiolaeth o'r pethau hyn, megys y rhoddes yr Ysbryd iddynt ymadrodd. Ac er mai gwael bethau y ddaear oeddynt ynddynt eu hunain, nerthwyd hwynt gan yr Ysbryd Glân, nes bod yn offerynau i ddwyn lluoedd i edifarhau a gadael eu ffyrdd drygionus, a chael eu bedyddio mewn dwfr gan gyffesu eu pechodau, a'u llenwi â'r Ysbryd Glân drwy arddodiad dwylaw, a hwy a welsant weledigaethau, ac a brophwydasant; cythreuliaid a fwriwyd allan, a'r cleifion a iachawyd drwy weddi'r ffydd ac arddodiad dwylaw. Felly cynnyddodd pregethiad yr efengyl yn ddirfawr, a'r Arglwydd yn cydweithio megys cynt, drwy *gadarnhau* y *pregethiad* o'r *gair*, drwy yr arwyddion oedd yn *canlyn* y rhai a gredasent y *gair* eisoes. Nid *rhagflaenu* y gair y mai gwyrthiau, ond *canlyn* ar ol hyny. Ac fel hyn y cododd Duw dystion iddo ei hun, i sefydlu ei deyrnas ar gynllun ei Fab, yn y dyddiau diweddaf hyn; ac nid yw efe yn ei adael ei hun yn ddidyst yn awr, ond y mae yn tywallt ei Ysbryd yn helaeth ar y rhai a ufyddhant. Ac, er nad oedd ond chwech yn yr eglwys hon y pryd hyny, aethant oddi amgylch i bregethu fel y gorchymynwyd iddynt, gan dystio y pethau a welsent ac a glywsent, a'r bobloedd yn eu credu, yn ufyddhau i'r efengyl, ac yn derbyn yr Ysbryd Glân, yn mhob man lle yr elent. Aeth rhai o'r rhai a ordeiniwyd i daleithiau Michigan, Ohio, Pensylvania, &c.; ac aeth Joseph Smith i Canada Uchaf, ac a gafodd lwyddiant mawr, hyd nes yr oedd rhifedi y Saint yn dros fil cyn diwedd y flwyddyn hòno. Mewn rhai manau ufyddhaodd y penaethiaid, y doethion, a'r pregethwyr, a chynnulleidfaoedd a droisant yn gyfain, ac a fedyddiwyd. Erbyn hyn cododd erlidigaeth dost i'w herbyn, drwy fod bugeiliaid cenfigenus yn colli eu defaid: dechreuasant bregethu yn eu herbyn, cynllunio a chyhoeddi ystoriau anwireddus am eu cymmeriadau, megys dweyd fod Joseph Smith yn proffesu y gallai wneuthur gwyrthiau, &c. Yr achlysur o hyn oedd, oherwydd ddarfod iddo osod ei ddwylaw ar ben, a gweddio dros gleifion oedd yn mron marw, ac iddynt hwythau gael iechyd yn y man; er na hònai Joseph Smith o hono ei hun un gallu i gyflawni gwyrthiau, mwy nag y gwna neb ereill o'r Saint, ond yn unig ddarfod i Dduw ein gweled yn deilwng i gael bod yn *offerynau* yn ei law Ef.

# PENNOD XVII.

## SEFYDLIAD Y SAINT YN KIRTLAND, A'R ERLIDIGAETH YN MISSOURI.

Tua'r flwyddyn 1831, dechreuodd y Saint, o bob talaeth, ymgasglu i Kirtland, tref fechan yn Nhalaeth Ohio, ychydig o filltiroedd i'r deau o lyn Erie. Prynodd amryw o honynt dir, ac a'i llafuriasant yn ddiwyd ; ereill o honynt a adeiladasant dai ; a'r crefftwyr ag oeddynt yn eu plith a fasgnachent, yn ol eu gwahanol grefftau ; ac felly aent yn mlaen am dro yn llwyddiannus a chysurus. Yr oedd llwyddiant mawr yn canlyn llafur y rhai oedd yn pregethu trwy'r taleithiau ereill. Cyn gynted ag yr ufyddhäai dynion i'r efengyl yn mhlith y byd, dirmygent ac erlidient hwynt, gan lunio pob math o gamgyhuddiadau i'w herbyn, yr hyn a achosai i'r rhai a allent, symud at eu brodyr i Kirtland. Wedi lliosogi nes yr oedd eu rhifedi yn rhai miloedd, ymosodasant ar adeiladu ty addoliad, neu deml fawr, yn Kirtland, a pharhausant yn ddiwyd, dan bob anfantais, nes ei chwblhau yn adeilad cyfleus a hardd.

Yn fuan wedi hyny, cenfigenai eu cymmydogion wrth eu llwyddiant, ac ofnent y byddai y "Mormoniaid," fel eu galwent, mor lliosog, yn mhen amser, ag i ddylanwadu yn eu herbyn hwy yn yr etholiadau ; fel pe buasai eu cyd-ddynion yn fforffetio eu rhyddid a'u hawl gwladol pan gredent yr efengyl ; a'r unig ddyfais a allent lunio, er cadw ffrwynau y llywodraeth yn eu dwylaw eu hunain, oedd dwyn camgyhuddiadau yn erbyn pobl heddychlon a diniwed. Yma y dechreuwyd yr hen ddichell ddofn hòno ag yr arferwyd cymmaint o honi wedi hyny mewn manau ereill, sef gosod rhai o'u hen fythod eu hunain ar dân, ac wedi hyny cyhuddo rhai o'r Saint o hyny. Yna cyhoeddid yn y newyddiaduron yn mhell, fod y Mormoniaid yn lladd, ac yn llosgi tai, eu cymmydogion. Go debyg i hen dric Nero yn gosod Rhufain ar dân, a chyhuddo y Cristionogion, er mwyn cyffroi y werin i'w herbyn. Oddeutu y pryd hyn y dyfeisiwyd yr ystori ffol hòno ar Joseph Smith, sef ei fod yn "cerdded ar y dwfr." Ond dywedid cyn hyny mai gwraig o'r enw Anne Lee, yn y taleithiau dwyreiniol, a wnaeth hyny ; a chofus genym glywed yr ystori hòno yn cael ei dwyn yn erbyn Johannah Southcott, pan oeddym yn blant yn yr ysgol ; ond yn ddiweddaf oll tadogwyd hi ar Joseph Smith : ac er mor ffol a gwrthun yw yr ystori hòno, ïe, heb gymmaint ag un gair o wir, na defnydd iddi, erioed am Joseph Smith, etto y mae hi wedi cael ei chyhoeddi yn y newyddiaduron a'r pwlpudau Americanaidd. Y mae hefyd yn syndod dweyd fod hon, fel miloedd o rai ereill ag sydd mor ddisail â hithau, wedi cael *passage* dros y Môr Werydd, wedi cwmpasu Lloegr a Scotland, ac yn awr ar ei thaith gyflym trwy Gymru ; yn cael ei helpu yn ei blaen o gapel i gapel—yn marchog gyda chyflymdra ar gyfrwy pregethwyr, o sir bwy gilydd—yn dringo pwlpudau y naill enwad mor groesawus â'r llall ; a rhyfedd fel y boddia chwaeth y rhai hyny ydynt wedi eu rhoddi i fyny i amryfusedd cadarn, fel y credont gelwydd, y rhai ni dderbyniant gariad y gwirionedd. Y mae hon yn damaid mor felys, nes y cofleidiodd Golygydd parchedig y *Diwygiwr* hi â deheulaw cymdeithas, gan ysgrifenu *sânteiddrwydd* ar ei thalcen, a rhoddi iddi

y *passport*, a'r rhwydd hynt a allai, yn ei gorchwyl annuwiol o dwyllo ei gydgenedl, fel y darparai y ffordd i'w gerbyd ei hun. Nid ydym yn meddwl y buasai eisieu i neb ddweyd mai anwiredd yw pob gair o'r ystori hon, oni bai fod rhyw barchedigion fel hyn yn ceisio ei santeiddio â'u geneuau halogedig, a thrwy hyny rhoddi iddi ymddangosiad o wirionedd. Ond y mae y werin wedi cael digon o brofion bellach nad yw y parchedigion yn fwy hynod am draethu y gwir nâ'u cymmydogion.

Ond i ddychwelyd at yr hanes. Cynnyddodd yr erlidigaeth yn erbyn y Saint yn ogymmaint â'u llwyddiant. Dygwyd Joseph Smith lawer gwaith gerbron llysoedd, a chyhuddid ef bron o bob peth ag y gallai dynion drwg ddyfeisio, er mwyn cael ei ben i lawr. Yn eu hawydd mawr, tyngai y tystion ormod i fod yn wir; ac wrth eu bod yu tyngu yn groes i'w gilydd, ïe, er ei farnu gerbron ei elynion proffesedig, daeth o'u gafaelion bob tro yn fwy nâ choncwerwr. Gan na allent ei brofi yn euog o droseddu y gyfraith wladol, mynych yr ymosodai terfysglu ar ei dy yn y nos, gan ei fygwth â marwolaeth, os nad elai efe a'r Saint oddiyno. Ymosodasant unwaith yn nodedig ar ei dy, ar ganol noswaith oer, pan yr oedd yn rhew ac yn eira mawr; llusgasant ef o'i dy gerfydd ei draed, a churasant ef yn greulon, nes iddynt feddwl eu bod wedi ei ladd; er hyny yr oedd bywyd ynddo, a chlywai hwynt yn ymgynghori â'u gilydd beth i wneyd ag ef. Cynghorai rhai i dòri bedd yno, a'i gladdu. Aethant i gyrchu rhawiau i'r dyben hyny, ond gan fod y ddaear yn rhy galed iddynt wneuthur hyny, aeth rhai o honynt yn ol i dy Mr. Smith, a chymmerasant glustog oddiar ei wely ef. Ar ol rhwygo ei ddillad ymaith, dwbiasant ei gorff â phyg; yna rhwbiasant y plu yn y pyg, a gadawsant ef yno am farw. Yn fuan ar ol iddynt hwy fyned ymaith, cododd yntau, ac aeth i'w dy. Yr oedd ei wraig wedi myned i hysbysu y peth, ac i erfyn cymhorth gan ei chymmydogiou. Ymgeleddodd Mr. Smith ei hun, a chafwyd fod ei esgyrn yn gyfain, ond fod ei ddannedd blaen wedi eu tòri. Boreu dranoeth (y Sabboth), pregethodd i dyrfa liosog, yn ol ei gyhoeddiad. Byddai hanes yr erlidigaethau a'r gormes a ddyoddefodd y Saint yno wedi hyn, yn rhy faith i'w ddesgrifio yma; ond gan nad oedd cyfiawnder na heddwch iddynt fwynhau yn Kirtland, nac un gobaith am dano, yn y flwyddyn 1834, aeth rhai o honynt tua'r gorllewin i chwilio am le ag y gallent drigo ynddo gyda'u gilydd mewn heddwch. Sefydlasant yn Swydd Jackson. Talaeth Missouri; prynasant diroedd yno gan y llywodraeth, pa rai a barhaent i arloesi a llafurio, a'r Saint o Kirtland yn ymfudo atynt, o bryd i bryd, yn ol fel y caniatäai eu hamgylchiadau. Dechreuasant bregethu yno yn fuan; ac nid oedd gan y brodorion ddim neillduol yn eu herbyn hwy na'r athrawiaeth am yspaid, oddieithr rhai o'r sectariaid a waeddent ar eu hol, "twyllwyr, a gau-brophwydi."

Yn y mis Gorphenaf canlynol, daeth amryw filoedd o'r Saint i Swydd Jackson i wladychu, a buan iawn y troisant yr anialwch yn ddoldir. Adeiladasant dref o'r enw Far West, mewn sefyllfa iachus a hardd. Perchenogid y wlad oddiamgylch gan y Saint. Gwnaethant dyddynau, melinau, a phentrefi; a rhoisant hadau yn y ddaear, gan ddysgwyl cael yr heddwch a'r rhyddid hwnw i addoli Duw yn ol eu

cydwybodau, a addawai cyfreithiau gwerin-lywodraeth i bawb o'i deiliaid yr unrhyw. Gwyliai y Saint, hyd y gallent, rhag rhoi achlysur i'w cymmydogion eu herlid, hyd nes yr oedd y rhan fwyaf o lawer wedi hunan-ymwadu gymmaint, fel yr addawsant nad ymyrent â dim a berthynai i'r wladwriaeth; ond ereill a honent eu hawl i hyny. Oherwydd fod y Saint wedi pleidleisio yn etholiad y swyddwyr gwladol, cynhyrfodd rhai o'r hen sefydlwyr yn eu herbyn yn y fan, a bu cynhwrf ac ymladdfa rhwng rhyw rai o honynt. O hyny allan, y rhai hyny a gamddarlunient yr ymrafael, a gyhuddent y Saint o fod yn gomedd i ereill roi eu pleidlais. Cyhuddent y Saint ar gam o lawer o ystoriau, o fod yn fradwyr i'r llywodraeth, &c. Ffugiodd rai o honynt enw rhai o'r blaenoriaid, gan gyhoeddi yn un o'r newyddiaduron fod y Saint yn gwahodd y Negroaid caethion i ddianc oddiwrth eu perchenogion, a dyfod atynt hwy, ac y caent eu rhyddid. Ni allent ddyfeisio dim a gynhyrfai y dalaeth yn fwy nâ hyn, oherwydd fod Missouri yn dalaeth lle y mae caeth-fasgnachaeth yn gyffredinol iawn. Er nad ymyrodd y Saint â'u caethion, gwir na chefnogent ddala eu cydgreaduriaid yn gaeth fel anifeiliaid; ond gwyddent y buasent yn peryglu eu bywydau, ac yn troseddu cyfraith y dalaeth, pe dywedent ddim i'w herbyn. Y trigolion a sefydlasant yn y cwr hwn o'r dalaeth oeddynt gan mwyaf wedi ymfudaw o Kentucky, Tennessee, a'r talaethau caeth ac hanner barbaraidd ereill. Yr oedd wedi bod am flynyddau yn noddfa, i ba un y ffoai y dyledus a'r rhai a ffoent rhag y gosp o'u troseddiadau o gyfraith eu gwlad eu hun. Yr oeddynt yn lled debyg i'w cymmydogion Indiaidd, ond llawer creulonach. Er mwyn enyn y fflam yn fwy, cyhuddid y Saint gan y cenadon ag oedd yn mhlith yr Indiaid, o fod yn cynllwyno gyda'r Indiaid i ddyfod a lladd y trigolion, a meddiannu y wlad. Yr unig achlysur a gawsent oedd, fod y Saint yn pregethu i'r Indiaid a ddeuai i'w plith, ac i ddau neu dri o bregethwyr ddychwelyd i'r goedwig gyda'r Indiaid i'w dysgu, a hyny ar eu dymuniad. Cynhyrfai hyn y cenadon nes eu dyfod i blith y caeth-fasgnachwyr, y rhai oeddynt yn falch iawn i gael rhyw achlysur yn erbyn y Saint. Yr oedd y cyhuddiad hwn yn sylfaen rhagorol i weithio eu dyfais yn mlaen, yn enwedig gan fod eu terfysglu yn cael eu llywyddu gan y fath bregethwyr duwiol; ac, er mor rhyfedd yw dweyd, etto y mae yn ddigon gwir, na orphwysodd y cenadon heddwch hyn nes cael deunaw o honynt i bregethu drwy y wlad yn erbyn y Saint, nes eu cynhyrfu wrth y cannoedd i ymosod arnynt i'w lladd, os na adawent y wlad rhag eu blaen. Llosgent eu meddiannau eu hunain yn bwrpasol, er mwyn anfon at Lywydd y Dalaeth mai y Saint a wnaethant hyny; dystrywiasant lawer o dai y Saint, llosgasant eu hyd, lladrataent eu hanifeiliaid, a mynych yr ymgasglent yn fyddinoedd i'w herbyn wedi duo eu hwynebau, eu gwisgo mewn crwyn, a phluf yn eu penau, gan waeddi yn erchyll fel Indiaid; a lle bynag y disgynai casineb y pregethwyr anwaraidd hyn, y disgynai dialedd eu canlynwyr annynol a didrugaredd. Yn ofer yr apeliai y Saint at y llywodraeth am amddiffyniad, canys yr oedd y swyddogion gwladol wedi coelio y camgyhuddiadau a ddygid yn erbyn y Saint. Mwy nag unwaith gorchymynodd Llywydd y Dalaeth, ynghyd â'r ynadon, iddynt amddiffyn eu hunain, yr hyn nid oeddent

etto wedi anturio arno; a chan gynted ag yr amddiffynasant eu tai a'u teuluoedd yn ngwyneb ymosodiad y dynion drwg hyny arnynt, ehedai yr ystoriau drwy y wlad fod y Mormoniaid wedi lladd rhyw nifer fawr o bobl, gan ychwanegu a cham-ddarlunio nes cynddeiriogi ereill yn fwy-fwy i'w herbyn, heb chwilio ai gwir a glywsent. O'r diwedd, galwodd y Llywydd y milisia allan i helpu y terfyglu i alltudio y Saint o'r wlad, ar gost yr oll a feddent, heb ganiatâu iddynt arholiad na dim cyfiawnder arall, fel y gwelir yn amlwg oddiwrth y dystiolaeth ganlynol o eiddo llygad-dyst a chyd-ddyoddefydd, yr hon a dystiwyd ar lw o flaen un o frawdlysoedd Talaeth Illinois yn y fl. 1838, a ardystiwyd hefyd gan laweroedd ereill, a gyhoeddwyd i'r byd yn eu hwynebau, ac sydd yn sefyll hyd heddyw yn dystiolaeth anwrthwynebadwy i'w herbyn, ac a barha i waeddi yn nghlustiau Arglwydd Sabaoth hyd oni farna efe ei bobl mewn cyfiawnder.

Darllen, ddarllenydd, a rhyfedda, ac yna cofia na fynegwyd i ti hanner y creulonderau a'r erlidigaeth a ddyoddefodd y Saint diniwed a diamddiffyn, oherwydd eu crefydd, yn Missouri!

---

### TYSTIOLAETH HYRUM SMITH, PATRIARCH, O FLAEN Y LLYS YN NAUVOO, TALAETH ILLINOIS.

Mae y dystiolaeth hon wedi ei rhoddi gan Hyrum Smith ar ran ei frawd Joseph Smith, yr hwn oedd wedi ei ddwyn o flaen brawdlys Nauvoo, trwy orchymyn oddiwrth Lywodraethwr Talaeth Missouri, ac a gyhuddid o fradwriaeth yn y dalaeth hòno. Y mae yn iawn sylwi yma mai brawd ydoedd y tyst hwn i Joseph Smith, y prophwyd, yr hwn ydoedd sylfaenwr Mormoniaeth. Nid yw maintioli ein cyhoeddiad yn caniatâu i ni roddi ond talfyriad byr yn unig o'r dystiolaeth bwysig hon, ag sydd yn cynnwys yr holl hanes am yr erlidigaeth yn Missouri.

Ar ol clirio cymmeriad ei frawd, y mae Hyrum Smith yn myned yn mlaen i ddweyd pan oedd ei frawd yn Nhalaeth Missouri, fod y bobl a elwid yn gyffredin yn Formoniaid, yn cael eu bwgwth yn enbyd iawn; ac oddeutu y dydd Llun cyntaf yn Awst, 1838, yn yr etholiad yn Gallatin, swydd Davies, gwaherddid i'r Mormoniaid eu hawl i bleidleisio; ac oherwydd yr amgylchiad hwnw, dechreuodd cynhwrf ac ymladd yn mysg trigolion y lle, yr hyn a achosodd i derfysglu godi yn y swydd hòno o hyny allan, y rhai a fygythient lwyr-ddyfetha y Mormoniaid. Wedi i'n tyst a'i frawd glywed fod terfysgwyr yn ymgodi, a'u bod wedi lladd dau o drigolion y lle, ac na oddefent i'w cyrff gael eu claddu, aethant drosodd i wybod sefyllfa pethau, ond deallasant nad oedd neb wedi eu lladd, ond fod amryw wedi eu clwyfo. Wrth ddychwelyd, galwasant gyda'r awdurdodau, ac erfyniasant arnynt i ymdrechu llonyddu y terfysgwyr, yr hyn, mewn ysgrifen, a addawsent wneyd; ac yn fuan wedi hyn, cafwyd heddwch.

Ni pharhaodd pethau fel hyn yn hir; canys yn mhen enyd ymgynnullodd y terfysgwyr eilwaith, fel ag yr ymosododd amryw gannoedd o honynt ar y Mormoniaid yn Millport, o fewn ychydig filltiroedd i Diahman, gan gymmeryd ymaith eu hanifeiliaid, a bwgwth llwyr ddinystr. Cymmerent yn fynych yn garcharion, wyr, gwragedd, a

phlant, a fflangellid a thrinid hwy yn y modd creulonaf, gan eu cylymu wrth goedydd, lle yr oeddynt yn cael eu gadael mor hir heb fwyd, nes y gorfyddid hwy i fwyta y rhisgl er cynnal bywyd. Yn fyr, gwnaent bob peth iddynt ag a feddylient oreu er creu eiddigedd yn y Mormoniaid ereill, a'u cael i wneyd amddiffyniad, fel y gallent eu cyhuddo o dòri y gyfraith, a thrwy hyny gynhyrfu y werin i'w cynnorthwyo i ddyfetha y bobl ddiniwed hyny. Danfonwyd yn union at yr awdurdodau, a llwyddwyd i gael gwasanaeth milwyr i amddiffyn y dref; ond wedi i bethau dawelu, ac i'r milwyr adael, ail-gynneuodd eiddigedd yr erlidwyr, a chodasant mewn amryw leoedd ereill lle y preswyliai Mormoniaid, gan eu difeddiannu o'u heiddo, ac ymddwyn tuag atynt yn giaidd. Yr oedd y milwyr yn y rhan fwyaf o leoedd yn nacâu gwneyd eu dyledswydd. Meddyliwyd yn oreu yn awr i anfon deiseb at y Llywodraethwr, ac un arall at y Barnwr King. Yr oedd y Mormoniaid o hyd mewn cyflwr enbyd; yr oeddynt yn canfod eu hunain wedi eu hamgylchu ar bob llaw gan elynion arfog, rhai o'r cyfryw a fyddent dan lywyddiaeth pregethwyr yr efengyl. Gwnaent i'r Mormoniaid roi i fyny bob peth yn eu meddiant, dan berygl marwolaeth, a'u gorfodi i addaw ymadael â'u gwlad, a myned i'r Far West, onide y buasent hwy yn eu gyru yno, ac wedi hyny i uffern.

Pan oedd amgylchiadau yn parhau fel hyn, dychwelodd ateb oddiwrth y Llywodraethwr ac ereill, yn hysbysu na allai y Mormoniaid gael dim cynnorthwy, ac am iddynt ymladd drostynt eu hunain, nad oeddynt hwy yn meddwl gofalu dim yn eu cylch.

Gorfodwyd holl deuluoedd gwasgaredig y bobl hyn yn yr holl swyddi, oddieithr swydd Davies, i fyned i'r Far West, ond nid cyn i lawer o honynt newynu ar y ffordd. Nid oedd hyn ond ychwanegu at eu caledi, oherwydd yr oedd miloedd lawer wedi eu gyru i fan lle nad oedd unrhyw drigfanau i'w cysgodi, ond yn gorfod cruglwytho at eu gilydd, rhai mewn math o bebyll, ereill o dan wrthbanau, a llawer heb ddim i'w cysgodi rhag llymder yr hin. Fel hyn y buont am ddau fis, llawer o honynt yn cael eu lladd, tra yr oedd ereill yn cael eu fflangellu mor enbyd nes gorfod rhwymo eu hymysgaroedd rhag syrthio allan. Oddeutu yr amser hyn, daeth un Cadfridog Parks o Richmond, Talaeth Ray, yr hwn ydoedd un o'r swyddogion a awdurdodwyd i fyned i Diahman, ac aeth Hyrum Smith a'i frawd oddiyno yr un pryd. Wedi iddynt oll gyrhaedd Diahman, a myned i dy un Milwriad Wight, oddeutu un-ar-ddeg o'r gloch y nos, daeth gwraig Formonaidd i mewn, gan ddwyn ganddi ei dau blentyn, un yn ddwy flwydd a hanner, a'r llall yn faban yn ei breichiau. Daeth ar ei thraed oddeutu tair milltir, trwy ganol yr eira, a chroesodd y Grand River pan oedd y dwfr hyd at ei gwasg. Dywedai fod rhai o'r terfysgwyr wedi ei bwrw allan o'i thy, cymmeryd ei holl feddiannau, a llosgi y ty, ac iddi hi gael gwaith achub ei hun a'i phlant. Yr oedd ei gwr yr amser hyny yn Virginia, a hithau yn byw yn unig.—Effeithiodd yr ymddygiad creulon hwn yn fawr ar y Milwriad Wight, a gofynodd i'r Cadfridog Parks, yn nghlyw y lleill, pa mor hir yr oeddynt i ddyoddef felly? Parodd hyn i'r terfysgwyr gael eu chwalu, ac i'w harfau gael eu cymmeryd. Ond buan y dyfeisiasant ddichell newydd; yn lle llosgi tai y Mormoniaid bellach, gosodasant dân yn

eu tai eu hunain (ond wedi eu gwaghau yn gyntaf), a gyru ar hyd y wlad i ddweyd mai gwaith y Mormoniaid ydoedd. Yn ganlynol, ni ellid perswadio neb nad y Mormoniaid oedd yn euog, a chynhyrfwyd rhagfarn y wlad tuag atynt yn fwy. Wrth sylwi ar ddyoddefaint y bobl yn Diahman, dychwelodd ein tyst a'i frawd yn ol i ddinas y Far West, a danfonasant at y Llywodraethwr Atchinson, i hysbysu pa fodd yr oedd yn bod, ac erfyn am gynnorthwy os oedd yn bosibl. Yn y cyfamser, rhoddodd Barnwr y Llys Sirol orchymyn i filisia y sir fod mewn parodrwydd dydd a nos, er cadw y trigolion rhag cael eu lladd, i'r hyn berygl yr oeddynt yn agored bob mynyd. Yr oedd pob peth yn parhau i ddychrynu. Er hyny oll, yr oedd y bobl yn gobeithio o hyd y buasai y Llywodraethwr yn eu cynnorthwyo; a phan yr oeddynt yn dysgwyl am ymwared, gan weddio ac wylofain, canfyddasant fyddin fawr yn agosâu at y dref, y rhai a ysgydwent eu harfau gloywion yn nyscleirdeb yr haul; ac ni allai y trigolion lai nâ llawenhau dros enyd, gan feddwl fod y Llywodraethwr wedi danfon i'w helpu. Ond er eu syndod, wedi i'r fyddin gyrhaedd yno, ffurfiasant eu hunain yn restr ddyblyg, a danfonasant dri chenad, yn dwyn baneri gwynion, i'r dref, i ymofyn tri o bersonau allan o honi, cyn y buasai iddynt ladd y lleill, a gosod y dref yn wenfflam. Dywedodd y tri wrthynt, "Os oes rhaid dystrywio y bobl, a llosgi y dref, yr ydym ni yn barod i dderbyn yr un dynghed." Wedi hyn, enciliodd y fyddin yn ol oddeutu milltir a hanner oddiwrth y dref; ac yn fuan, danfonwyd cenad i ymddyddan â'r ddau gadfridog, ond cyn iddo gyrhaedd eu gwersyll, saethwyd ef gan un o bregethwyr y Methodistiaid, o'r enw Bogard; ond, er hyny, llwyddodd i gael gweled un o honynt, yr hwn a ddywedodd wrtho nad oedd y llall yno, a'i fod wedi ei ddanfon yn ol, oherwydd ei fod yn rhy dosturiol wrth y Mormoniaid. Erfyniodd y cenad arno i arbed y dref dan boreu dranoeth, yr hyn yn oeraidd a addawodd, gan nad oedd etto wedi derbyn gorchymyn oddiwrth y Llywodraethwr, yr hwn oedd yn ddysgwyl bob awr. Danfonwyd cenad eilwaith at yr un cadfridog, yn erfyn arno wneyd ei oreu i gadw bywydau y bobl, yr hwn a ddychwelodd â'r newydd o fod llawer wedi cael eu lladd yn druenus gan rai o filwyr cadfridog arall a elwid Lucas. Cafodd y troseddiadau hyn eu cyflawni cyn derbyn gorchymyn oddiwrth y Llywodraethwr. Ychydig bach cyn gostwng haul, daeth byddin arall i mewn, dan lywyddiaeth un Cornelius Gillum, yr hwn fu yn difrodi yn erchyll mewn man arall yn flaenorol. Yr oedd y fyddin hon wedi lliwio eu gwynebau fel yr Indiaid. Byddent yn wban a rhuo fel Indiaid drwy y nos. Yn gynnar yn y boreu, danfonwyd cenad i gael ymweliad arall â'r Cadfridog Doniphan; ac ar ei ddychweliad, hysbysodd fod gorchymyn y Llywodraethwr wedi dyfod; ac i'r Cadfridog Doniphan ddweyd mai gorchymyn y Llywodraethwr oedd, llwyr ddyfetha y Mormoniaid, ond y cymmerai efe ei ddamnio cyn y gwnai ufyddhau iddo, ac y gallai y Cadfridog Lucas wneyd fel y mynai. Eithr deallwyd nad oedd y gorchymyn hwn ond copi o'r un gwreiddiol, yr hwn oedd yn nwylaw y Prif-gadfridog Clark, ag oedd ar ei ffordd tua'r Far West, a chanddo fyddin ychwanegol o chwe mil. Yn fuan ar ol hyn, daeth cenad i'r dref, yn hysbysu fod lladdiad dychrynllyd ar y bobl yn Maun's Hill wedi dygwydd, yr hyn

a gymmerodd le mewn canlyniad i'r gorchymyn a roddodd y Llywodraethwr i lwyr ddyfetha y Mormoniaid.

Parhaodd y fyddin a aeth i'r Far West, tra buont yno, i ddystrywio y caeau llafur, lladrata yr anifeiliaid, a'u lladd er mwyn difyrwch. Yr oedd y ddinas wedi ei gwarchae ganddynt, ac ni oddefid i neb fyned i mewn nac allan dan boen marwolaeth. Cafodd llawer o'r trigolion eu saethu pan yn anturio allan i ymofyn lluniaeth. Yr oedd un cae o ddeuddeg can erw, yr hwn oedd y rhan fwyaf wedi ei orchuddio â chnydau o lafur; a chafodd y cyfan ei anrheithio gan y meirch yn y fyddin. Dranoeth ar ol i'r fyddin ddyfod yno, yn yr hwyr, aeth y Milwriad Hinkle i'r ddinas, gan ddymuno gweled Joseph Smith (hen.), Parley P. Pratt, Sidney Rigdon, Lyman Wight, a George W. Robinson, a dweyd wrthynt fod y swyddogion yn y fyddin am ymgynghori â hwynt, a'u bod yn sicrhau na chaent eu niweidio. Cydsyniasant, ac aethant gyda'r milwriad tua'r gwersyll, pan yn fuan yr amgylchynwyd hwynt gan filwyr. Tybient mai i'w gwylio i'r gwersyll mewn diogelwch oedd eu dyben; ond er eu syndod, pan ddygwyd hwy at y Cadfridog Lucas, aeth Hinkle yn mlaen ato, gan ddweyd, "Dyma y carcharorion a gyfammodais i eu dwyn i chwi." Tynodd Lucas ei gleddyf, a dywedodd, "Yr ydych yn garcharorion i mi yn awr;" ac yn yr amser hyny, daeth y brif fyddin i'w cyfarfod. Agorasant ar y de a'r aswy, ac arweiniwyd Smith a'i gyfeillion rhyngddynt, yn nghanol bloeddiadau ac wban y milwyr. Ar ol cael eu bradychu fel hyn, rhoddwyd hwynt dan wyliadwriaeth, a gorfodid hwynt i orwedd ar y ddaear oer trwy y nos, a dywedid wrthynt nad oedd wiw iddynt ddysgwyl eu rhyddid mwyach. Boreu dranoeth, cafodd y milwyr ganiatâd i fyned i'r dref, i aflonyddu y bobl wrth eu pleser, myned i'w tai a'u hyspeilio, treisio y benywod, a chymmeryd ymaith bob arf a allent gael. Oddeutu deuddeg o'r gloch, daeth y Milwriad Hinkle i dy ein tyst (Hyrum Smith), a gwnaed ef yn garcharor gyda'r lleill, yn ngwyneb ei afiechyd ef a'i deulu ar y pryd. Yn mhen hanner awr, daliwyd un Amasa Lyman, a gosodwyd yntau dan yr un wyliadwriaeth. Buont allan y noson hòno eilwaith; a daeth Hinkle at H. Smith, a dywedodd y gwnai ef eu pleidio yn y llys milwraidd, ond ei fod yn ofni na lwyddai. Dywedodd hefyd fod llys arall yn eistedd y pryd hyny, yn yr hwn yr oedd oddeutu ugain o wahanol bregethwyr. Yn y boreu, daeth y Cadfridog Doniphan atynt, a dywedodd mai dedfryd y llys oedd, eu bod i gael eu saethu y boreu hwnw, ond na fynai efe un llaw yn y gorchwyl, a'i fod ef a'i fintai yn ymadael o'r lle, gan ystyried y byddent yn tywallt gwaed gwirion. Gwnaeth y mudiad hwn o eiddo Doniphan gryn gynhwrf yn y fyddin, a llawer o siarad yn mhlith y swyddogion; a darfu i'r carcharorion glywed "na chawsai y Mormoniaid dieflig eu saethu y boreu hwnw, oherwydd i'r Cadfridog Doniphan daflu rhwystr, ac fod llys arall wedi gorchymyn eu dwyn i Swydd Jackson, i gael eu dienyddio yno." Mewn ychydig fynydau, daeth dwy bedrolfen i'w hol, ac wrth fyned i mewn iddynt, taniwyd at y carcharorion gan bedwar neu bump o wyr, ond yn aneffeithiol. Cafodd y dynion eu sicrhau, a gyrwyd ymaith. Ar ol llawer o ymbil, cawsant fyned i'r ddinas dan warcheidwaid, i gael ffarwelio â'u perthynasau, a chael dillad, ond ni oddefid

iddynt siarad gair. Yna aethant yn y blaen tua Swydd Jackson, ac wedi myned 12 milltir, aroswyd dros y nos, a chaniateid i'r carcharorion gysgu allan yn yr eira, oddiwrth yr hyn y dyoddefasant yn erwin. Yn y boreu ar doriad y dydd, cychwynwyd hwynt yn y blaen, gan wneyd dangosiad o honynt i bawb ar hyd y ffordd, fel pe buasent yn elephantod neu gamelod. Craffid a sylwid arnynt o'r traed i'r coryn gan wyr, gwragedd, a phlant, ond yn unig na edrychent eu dannedd. Parheid i ymddwyn felly tuag atynt, hyd nes y cyrhaeddasant Independence, yn swydd Jackson, pryd y cawsant eu dangos drachefn dros yr holl dref. Wedi hyny, gosodwyd hwynt mewn hen goetty dan warchad, lle y gorfuwyd hwy i aros dros y nos a'r dydd canlynol. Ar ol bod yn y dref oddeutu pedwar diwrnod, daeth cenad oddiwrth y Cadfridog Clark i'w gorchymyn yn ol i Richmond, swydd Ray, lle yr oedd efe a'i fyddin wedi gyrhaedd i'w dysgwyl hwy yno; ond ar y boreu yr oeddynt i gychwyn, dywedodd y Cadfridog Wilson wrth y carcharorion bod y milwyr yn dysgwyl y caent eu crogi ar y ffordd, oni bai fod y cadfridog arall am gael y pleser. Cyrhaeddasant Richmond ar y 9fed o Tachwedd, lle y sicrhawyd hwy eilwaith mewn hen goetty. Yn mhen hanner awr, daeth dyn i mewn a chadwyni a chloion ganddo, a dywedodd ei fod ef wedi ei awdurdodi i'w gosod mewn rhwymau. Yr oedd y milwyr yn annelu eu drylliau tuag atynt, tra yr oedd y dyn yn sicrhau y cadwynau am danynt. Mewn ychydig fynydau, daeth y Cadfridog Clark i mewn, a gofynodd y carcharorion iddo pa beth oedd y mater eu bod yn cael eu trin felly; eithr ni roddodd un ateb, ond dywedodd y caent wybod mewn ychydig ddyddiau. Pan oeddent yn parhau yn y sefyllfa hon, daeth dyn ieuanc o'r enw Grant i ymweled â hwynt, yr hwn a'u hysbysodd iddo ef weled y Cadfridog Clark yn dewis ei ddynion i'w saethu ar foreu dydd Llun; gwelodd hwynt hefyd yn llwytho eu drylliau â dwy belen i bob un, ac wedi darfod anerchodd y cadfridog hwynt fel hyn:—"Foneddigion, cewch yr anrhydedd o saethu blaenoriaid y Mormoniaid am wyth o'r gloch boreu dydd Llun!" Ond trwy rywbeth neu gilydd, ni feiddiodd y cadfridog ddwyn ei amcan i ben; ac o ganlyniad anfonodd i Fort Leavenworth am y cyfraith-lyfr milwraidd, i gael gwybod a oedd pregethwyr, y rhai ni fuont erioed yn gwasanaethu fel milwyr, yn dyfod o dan ei gosp ef; a threuliodd wythnos i'w chwilio: efelly, pasiodd y dydd Llun heb eu saethu. Yr oedd yn rhyfedd fod dyn fel y cadfridog heb wybod yn well. Beth bynag, wedi iddo gael allan nad oeddynt hwy o fewn ei gylch i gospi, daeth i'r coetty at y carcharorion, a dywedodd ei fod ef yn penderfynu eu cyflwyno drosodd i'r awdurdodau gwladol, fel personau yn euog o fradwriaeth, llofruddiaeth, a rhyw gryn lawer o bethau. Yn ganlynol, cyflwynwyd hwynt i'r awdurdodau honedig hyny; a boreu dranoeth, tynwyd hwy o'u rhwymau, ac arweiniwyd hwynt i'r llys. Austin A. King oedd y barnwr, ac un Mr. Birch yn gyfreithiwr yr adran, sef y ddau foneddig ag oedd yn eistedd yn y llys milwraidd yn flaenorol, pan y dedfrydwyd y carcharorion i gael eu saethu. Parhawyd i eistedd yn y llys hwn dros bedwar diwrnod ar ddeg, mewn rhyw ddull, ac y mae'r darluniad a rodda ein tyst o'i ddygiad yn mlaen yn warth i wlad ag sydd yn ymffrostio cymmaint yn ei rhyddid a'i Christionogrwydd.

Gwnaed ffurf o alw tystion yn mlaen; a'r dull y gweinyddwyd eu llwon iddynt oedd, trwy ddala *bagnets* o'u blaen, gan fygwth eu lladd os na thyngent i'r hyn a berid iddynt. Ac y mae yn hysbys fod llawer o honynt wedi addef eu tystiolaeth yn gau wedi dod oddiyno yn ddiangol.

Wedi parhau arholiad fel hyn am o ddeuddeg i bedwar-ar-ddeg o ddiwrnodau, dywedodd y barnwr wrthym, os na ddygem dystion croes iddynt, y bwriai ni i garchar, er ein bod eisoes mewn carcharau tebyg gallaf feddwl, i'r erlidigaeth yn amser Nero, neu y chwil-lys. Etto, enwasom iddo ddeugain o bersonau a wyddent am yr holl gythrwfl, a rhoddodd yntau gynnifer o wysiadau yn llaw Bogart (y pregethwr Wesleyaidd nodedig hwnw oedd yn brif elyn a dialydd i ni, oddieithr ei frawd uwchradd, crefyddol a milwraidd, sef Cadben Clark), yr hwn a gymmerodd 50 o wŷr arfog, ac yn mhen ychydig ddyddiau, dychwelodd gyda'r deugain tystion o *Far West;* ac yn lle eu dwyn o flaen y llys, bwriodd hwynt oll i garchar; a thra yr oeddent hwy yno, bygythiai y barnwr wed'yn ein carcharu ninnau, os na ddygem ein tystion yn mlaen. Ar hyn gofynodd Col. Wight iddo, pa fodd y gallem ddwyn ein tystion i'r llys tra yr oeddynt hwy wedi eu cloi i fyny yn ngharchar? Nad allem amgen nâ dyoddef yr hyn a ewyllysient hwy boeni arnom; ac amrai ereill a ddywedasant yn gyffelyb wrtho; ond ni ynganodd Joseph Smith air wrthynt.

Annogodd y Cadben, Doniphan a Reese ni i dreio eilwaith i gael tystion yno, a rhoison i'r barnwr enwau oddeutu ugain wed'yn, ac efe a anfonodd yr un Bogart a'i 50 wyr arfog i'w hymofyn fel o'r blaen; ond yr oedd pobl *Far West* wedi deall mai dichell oedd hyn i gael carcharu pawb a wyddai y gwir, rhag i'w creulonderau hwynt ddod i'r amlwg, ac a ffoisant o'r wlad, fel na chafodd Bogart ond un gydag ef yn ol, a bwriodd hwnw i garchar at y lleill.

Ninnau, pan yn ymgynghori a'n gilydd yn y llys beth a wnaem yn mhellach, a welem ddyn o'r enw Mr. Allen yn sefyll tuallan ger y ffenestr. Galwasom ef, a daeth i mewn; ac er cymmaint y *tantalisiai* y barnwr ni i ddwyn ein tystion, gwrthwynebai i'r Mr. Allen hwn dystiolaethu nes i Cadben Doniphan fygwth gyda llw mawr y mynai efe iddo gael, ac y fod yn gywilydd i'r llys drin y carcharorion mor annynol, eu bod wedi cloi dros ddeugain o'u tystion yn y *bull pen* er eu rhwystro i amddiffyn eu hunain. Yna goddefwyd i'r tyst fyned yn mlaen; ond gydag iddo ddechreu tystio, ymruthrodd dyn o'r enw Cook, (yr hwn oedd yn llywydd yr osgordd, ac yn frawd yn nghyfraith i'r Bogart hwnw) yn mlaen, a cher gwydd y barnwr efe a gydiodd yn y tyst gerfydd ei wddf, a'i taflodd ar y llawr, ac yna a barhaodd i'w droedio nes cyrhaedd y drws, ac yna gwaeddodd ar rai o'i filwyr, y rhai a safent gerllaw, "Saethwch y d——l; saethwch ef." Rhedodd y milwyr ar ei ol, ond diangodd o'u golwg. Ar hyn gwasgarodd y llys, a gorchymynwyd ni i garchar *Liberty*, swydd Clay. Gofynasom am ba achos, neu beth oedd y cyhuddiad; ond yr unig ateb oedd, mai oherwydd ein bod yn "Formoniaid." Boreu dranoeth, daeth gôf, ac a roddodd gadwyni trymion arnom, ac a'n rhoisant mewn pedrolfen. Hysbysodd y gôf ni fod y barnwr wedi ein barnu yn euog o fradwriaeth, rhag ofn y caffem feichiau; mai ei fwriad oedd ein

cadw ni yn ngharchar yn wystl hyd onid ymadawai yr holl Saint o'r dalaeth. Clywais innau y barnwr hwn yn ymffrostio o flaen y llys nad oedd cyfiawnder i ni gael yn Missouri, ai fod ef wedi penderfynu na chai y Mormoniaid degwch, ond ei fod ef wedi ei dyngu i gyflawni gorchymyn y llywydd, sef i'w halltudio o'r wlad, ac y cyflawnai hyn yn llythyrenol. Ar hyd y ffordd tua Clay, dangosid ni fel *shew;* ac wedi cyrhaedd, bwriwyd ni i garchar tywyll ac afiach; ein gwely oedd ochr naddedig i bren deri, a'n bwyd nid oedd addas i gŵn; tair gwaith gweinyddwyd gwenwyn i ni; a'r modd y diangasom ei effeithiau oedd oherwydd iddynt roddi gormod nes y taflasom ef i fyny; ac oni buasai amddiffyniad ein Tad nefol drosom, buasem wedi syrthio droion yn ysglyfaeth i'w creulonderau. A mwy anhygoel etto, er ei fod yn ddigon gwir, darfu iddynt amrai weithiau geisio ein porthi ni ar gnawd dynol, yr hyn a alwent "*Mormon beef,*" ac ychydig goffi a bara *Indian corn.* Ni phrofodd neb o honom y cyntaf ond L. Wight; a desgrifiais ef wed'yn i feddygwyr deallus, pa rai a addefent mai cnawd dynol oedd. Deallasom wed'yn, drwy un o'u milwyr, y dysgwylient enwogrwydd drwy y creulondeb annynol hwn tuag atom; ond hollol groes oedd yr effaith a gafodd ar y lliaws; a hwythau, pan ddeallasent hyny, a wadasant, gan geisio ei guddio; ond yr oedd yn rhy gyhoeddus i hyny eisoes.

O'r daeardy hwn anfonasom *betition* ddwywaith i brif lŷs y dalaeth am gael treial, ond gommeddwyd ni gan y barnwr Reynolds, yr hwn yw llywydd y dalaeth yn awr. Wedi hyny, anfonasom ddeiseb i lys y swydd, ac yn mhen tair wythnos, dygwyd ni allan o'r daeardy am ychydig oriau, ac yna i mewn drachefn. Yn mhen ychydig ddyddiau wed'yn, daeth y barnwr Turnham atom, ac a'n hysbysodd y gallai Mr. Rigdon fyned ymaith o dan feichiau, ond y byddai ei fywyd mewn perygl os gwelent ef, ac am iddo ddianc yn y nos; ond fod ei fywyd ei hun mewn perygl os rhyddhäai neb arall o honom. Addefai fod yn galed i ni ddyoddef cymmaint o erlidigaeth, a'i fod ef yn gwybod ein bod yn ddieuog, a bod y bobl yn gwybod, ac yn addef hyny hefyd; mai ail gyflawniad o greulonderau swydd Jackson oedd hyn oll, a hyny rhag ofn y deuem yn rhy liosog yn y dalaeth. Dywedodd fod y frad hon i'n herbyn wedi ei chynllunio o'r prif-lywydd hyd y barnwr gwaelaf o fewn y dalaeth, ac mai pregethwr y Bedyddwyr. o'r enw Riley, a fagodd yr eiddigedd gwaethaf rhyngom â'r bobl, drwy farchogaeth i'n tref yn feunyddiol, a dala ar bob peth a glywai gan bawb, ac yna elai i blith y lleill gan ein camddarlunio, ac mai cenfigen at ein crefydd oedd y cyfan. Rhoddodd Mr. Rigdon feichiau, ac a ddiangodd yn ddiangol yn y nos, i dalaeth Illinois. Dywedodd ceidwad y carchar wrthym fod yr holl bethau hyn wedi cael eu cynllunio i'n herbyn gan y llywydd, a'i holl swyddwyr, er y gwanwyn blaenorol, ond eu bod wedi eu cario yn mlaen yn fwy cyflawn pan ddaeth y cadben Atchinson i ddinas Jefferson gyda Wilson, Lucas, a Gillum, yr hwn a alwai ei hun yn "*Delaware Chief.*" Dywedai hefyd fod y llywydd yn cywilyddio erbyn hyn oblegid yr holl fussness, ac y byddai yn dda ganddo pe meiddiai ein rhyddhau; ond, ebe efe, "na ddigalonwch, canys y mae y llywydd wedi dyfeisio *plan* i'ch gollwng yn

rhydd. Etholodd Birch yn farnwr, o flaen yr hwn yr ydych i ymddangos, ac fe'i cyfarwyddwyd pa fodd i'ch rhyddhau cyn hir.

Yn yr Ebrill canlynol dygwyd ni i swydd Davies, dan yr addewid o gael treial, ond erbyn cyrhaedd yno, yn lle llys a *jury*, yr oedd y cyffelyb chwil-lys yn ein derbyn etto. Y Birch hwnw a'n dedfrydodd i farwolaeth yn y *court martial* gynt oedd y barnwr, a'r holl *jury* oedd i'n barnu oeddynt yn brif weithredwyr yn y lladdfa greulon ac annynol hono yn "*Haun's Mill*," lle y merthyrwyd cynnifer o wyr, gwragedd, a phlant diamddiffyn, mewn gwaed oer; ac wedi eu hyspeilio hyd y nod o'r dillad oedd am danynt, a'u gadawsant ar y maes; a'r esgusawd a gynnygient dros hyn oll oedd, fod y llywydd wedi peri iddynt! Yr un *clan* a eisteddent yn farnwyr y dydd ag a gyfansoddai yr osgordd i'n gwylied y nos; a'u difyrwch penaf oedd dryllio ein teimladau, drwy adrodd mewn ymffrost pa nifer o dai a losgasent, a pha faint o anifeiliaid y Mormoniaid a ladrattasent, a pha fenywod a dreisiasant. Desgrifient yr arteithiau, a'r dull y gwrthwynebai y "*Mormon bitches*" (! !) eu hymosodiadau. Addefasant ddarfod iddynt ddilyn un wraig i ysgoldy, lle yr ymguddiai o'u ffordd, a rhwymo ei thraed a'i dwylaw wrth y meinciau, a bod un-ar-bymtheg o honynt wedi boddio eu nwydau anghenfilaidd yn olynol, a'i gadael yno yn y cyflwr hwnw. Ymffrostient o'r fath ysgelerdei yn ein gwydd am ddeg diwrnod. Clywsem o'r blaen am bethau cyffelyb, ond yr oeddynt yn rhy anhygoel i ni eu credu cyn hyn fod dynion yn y wlad a fuasent yn euog o'r fath bethau. Dyoddefodd y wraig hon am dros dri mis dan arteithiau eu barbariaeth cyn gwella. Adroddai y *grand jury* hyn eu buddugoliaethau drwy'r wlad, gan efelychu yr Indiaid mewn dawns ac ystumiau o'u cylch, gan yfed gwirod, a chanu maswedd. Yna ymdreiglent hyd y llawr, gan ffugio llewygu, &c., a bloeddio y caniadau a glywsent mewn "*camp meetings*," a hyn oll yn ngwyddfod, ac er difyrwch nid bychan i'r prif farnwr Birch, yr hwn a addefasai yn ein clywedigaeth cyn hyn "nad oedd cyfraith o blaid Mormoniaid yn Missouri." Ac wedi parhad o'r pethau hyn am ddeg diwrnod, hysbyswyd ni fod dedfryd i'n herbyn am "fradwriaeth, *murder, arson, larceny, theft, and stealing, &c.*," heb ein profi yn euog o un o honynt; ond pe gwybuasent am ryw drosedd gwaeth, diammau y rhoisent hwnw yn y rhestr. Ni ddeallasant hwy eu bod yn llenwi y rhestr er i ni dderbyn y *gwynfyd* a addawodd Iesu Grist pan ddywedent *bob* drygair i'n herbyn er ei fwyn ef a'r efengyl.

Anfonwyd ni oddiyma yn ngofal y *sheriff*, a phedwar o ddynion, mewn pedrolfen tua swydd Boon, gyda charchar *warant* oddiwrth Birch, heb nac enw dyn, na lle, na dyddiad wrthi. Fel hyn cychwynasom tua dwy awr cyn machlud haul, ac a gyrhaeddasom hyd Diaman; ac yno prynasom ddau farch gan ein gwylwyr, a thalasom am un o honynt â'r dillad oedd am danom, ac am y llall drwy ddangoseg wedi ei thanysgrifio genym. Y dydd canlynol aethom hyd dy y Barnwr Marion, tua phum milltir o ffordd. Dranoeth aethom tuag ugain milltir ar hyd y ffordd tua Boon, lle y prynwyd llonaid llestr o *whiskey;* yna dangoswyd i ni y *warant*, ac hysbyswyd ni fod Birch wedi dweyd wrth y dyn am beidio ein dwyn ni i Boon; ac, ebe efe "Myfi a gymmeraf lymaid *hearty* o *whiskey*, ac a af i gysgu, gwnewch chwi a fynoch." Yfodd tri ereill eu gwala o'r *whiskey* yn gymmysgedig â mêl newydd, a buan yr oeddynt mewn trymgwsg. Helpodd y llall nyni i gyfrwyo y meirch, a chych-

wyn, ac wedi canu yn iach i ni, aethom ar ein taith o'r gaethglud hon yn llawen tua thalaeth Illinois, lle y cyrhaeddasom yn mhen deng niwrnod; a chawsom ein teuluoedd yno yn iachus, ond yn dlawd ac amddifad iawn, wedi cael eu halltudio o dalaeth Missouri gan filwyr y dalaeth ar gost yr oll a feddent, tra yr oeddym ni yn ngharchar oherwydd efengyl y tangnefedd! Ac wedi y cwbl, ceisia yr erlidwyr creulon hyny gan bobl y dalaeth hon gredu fod fy mrawd Joseph yn euog o fradwriaeth, pan, mewn gwirionedd, ceisio cuddio eu creulonderau a'u hysgelerderau a wnant; ac etto, maent yn anedifeiriol yn sychedu am ychwaneg o waed gwirion. Yr ydwyf fi yn tystio nad yw Joseph Smith yn euog o fradwriaeth, nac o droseddu un o gyfreithiau y wlad mewn un modd. Yr ydwyf yn gwybod hefyd ddarfod i'r holl Formoniaid gael eu halltudio o'r dalaeth wedi cael eu hyspeilio o bob peth a feddent, a braidd ddianc yn fyw: felly fy mrawd a'i deulu hefyd, a hyn oll drwy orchymyn y llywydd Boggs, yr hwn a gymmeradwywyd gan senedd y dalaeth. Ac yr wyf fi yn gwybod, a gwyr y llys hwn, a phob dyn a wyr yr amgylchiadau, fod y llywydd Boggs, a'r Cadbeniaid Clark, Wilson, Lucas, a Gillum, yn euog o fradwriaeth yn erbyn y Missouriaid, wedi troseddu y *constitution* drwy alltudio yn ddiarbed o flaen eu *bagnets* o ddeuddeg i bedair mil ar ddeg o'i thrigolion o'u gwlad, ac wedi merthyru o dri i bedwar cant o wyr, gwragedd, a phlant, mewn gwaed oer, ac yn y modd mwyaf echryslon a diachos; ond yn tarddu yn unig oddiar genfigen ac erlidigaeth grefyddol oherwydd i'r Mormoniaid feiddio addoli Duw y nefoedd yn ol eu cydwybod; ac fel y deallent ei feddwl yn ysgrythyrau y gwirionedd dwyfol: troi ymaith oddiar ol-ofergoelion a thraddodiau dynol y rhai a ddysgent am athrawiaeth orchymynion dynion. Ac er fod y Mormoniaid wedi prynu a thalu i goffers y dalaeth dros ddau cant o filoedd o ddollars! Er fod llywydd y taleithiau a'r *congress* yn hollol hysbys o hyn oll, a *petitions* wedi eu danfon atynt yn gofyn am iawn, etto hyd yn hyn nid oes neb yn ystyried, nid oes fraich a'n cynnorthwya, a dosturia wrth ein cwyn, na neb yn addaw yr ymchwilia byth i'r peth, nac yr adferir ni mewn un modd i'n hiawnderau. Yr ydwyf yn gwybod hefyd yn sicr na fu Joseph Smith o fewn i gyffiniau Missouri er dechreu y flwyddyn 1839. Ac yn mhellach ni thystiaf.

HYRUM SMITH.

Yr achlysur a alwodd y llys hwn, ynghyd â'r dystiolaeth uchod, yn mhen blynyddoedd wedi i'r golygfeydd arswydus a ddesgrifia fyned heibio oedd, oherwydd i dalaeth Missouri o flaen etholiad feddwl y gallent gael pleidlais y Mormoniaid gyda'r *Wigs* drwy gyhuddo y *Democrats* a achosai yr erlidigaeth, yr hon ddichell a lwyddodd o'r blaen fwy nag unwaith ar gost y diniwed; a'r tro hwn yn neillduol rhoddodd llywydd Missouri warant i'r *sheriff* yn cyhuddo Joseph Smith o geisio neu achosi saethu y llywydd Boggs, pan nad oedd efe wedi bod o fewn cannoedd o filltiroedd iddo er's blynyddau, ac nad oedd ganddo yntau un sail yw gyhuddiad, ond camgyhuddiadau maleisus dynion o ddybenion drwg, yr hyn a brofwyd i bwrpas yn yr arholiad, a daeth Joseph Smith o'r ffau hono fel y daeth o dros ddeugain ereill, yn hollol lân a dieuog, heb ysgrafiniad blaidd na llew ar ei groen.

Pwy a ddichon ddarllen yr hanes uchod heb arswydo rhag dylanwad

sêl heb wybodaeth, ac enw o grefydd dan wadu ei grym hi? Y cyfryw yw dialwyr, dienyddwyr, a chreulonwyr y byd yn mhob oes a gwlad; ac etto dyma yr ystoriau, a'r awdurdodau a ddyfynir ac a gyhoeddir gan awduron o'r un chwaeth, ac a gredir am wirionedd gan eu hudolion, nid yn yr America yn unig, ond yn ein gwlad ein hun ysywaeth. Yr ydym yn feddiannol ar lu o dystiolaethau a ddichon wrthbrofi pob cyhuddiadau drwg yn erbyn y dyn daionus a duwiol hwnw, sef Joseph Smith.

Wrth y rhai a amheuant eirwiredd y dystiolaeth uchod, (canys nid ydym heb wybod fod rhai yma hefyd a lyncant gelwydd gymmaint â chamel, pan y taga gwirionedd gymmaint â gwybedyn hwynt), dywedwn na thraethwyd yr hanner etto, ac ychwanegwn un peth a ddymunwn iddynt gofio erbyn yr amser a ddel, a hyny ydyw, y gorfoda eu llygaid hwynt i goelio yr hanes uchod cyn hir, drwy fod yn llygaid-dystion o'r cyffelyb greulonderau a thrais yn nes atynt, oherwydd yr un broffes, i'r graddau ag y cynnydda ei phroffeswyr mewn duwioldeb; a thra y parha pregethwyr i bregethu o'u pwlpudau, ac awduron i gyhoeddi eu chwedlau a'u celwyddau hwynt, ac ychwanegu atynt, fel y gwnant er's rhai blynyddau bellach, y dydd sy'n dod a brawf mai hwy yw yr achoswyr o'r cyfan; ie, hwy sydd fel hyn yn chwythu y fflam angherddol, yr hon, i'r graddau y chwythant hi, a gerdda dros ein gwlad, a'i chyflafan fydd cyffelyb i'r eiddynt hwythau.

Rhoddwyd llawer o dystiolaethau ereill i'r un perwyl gerbron y llys, ac yn dangos golygfeydd mwy truenus na'r uchod, ond byddent yn rhy faith i'w cyhoeddi yma.

Rhydd P. P. Pratt, un o'r carcharorion a fu mewn daeardy am dros saith mis, yr hanes a ganlyn, yr hwn a gymmerodd le mewn arholiad ar ddynion am fywyd, ac a ddengys beth o ansawdd y brawdlysoedd hyny, ac achos yr erlidigaeth. Yn mhlith llawer o gwestiynau cyffelyb, gofynodd y barnwr King i'r tyst,—"A ydyw y Mormoniaid yn anfon cenadau i wledydd ereill?" Atebwyd yn gadarnhâol: yna gofynodd,—"A ydyw y Mormoniaid yn credu yn y bedwaredd adnod a deugain o'r ail bennod o Daniel, lle y dywedir, 'Ac yn nyddiau y breninoedd hyn y cyfyd Duw y nefoedd freniniaeth, yr hon ni ddystrywir byth; a'r freniniaeth ni adewir i bobl ereill; ond hi a faluria, ac a ddryllia yr holl freniniaethau hyn, a hi a saif yn dragywydd;' a'r seithfed adnod ar hugain o'r seithfed bennod hefyd?" Atebwyd hyn yn gadarnhaol hefyd; yna gorchymynodd y barnwr i'r ysgrifenydd gofrestru hyny yn ofalus, a'i fod yn bwynt cryf i brofi Joseph Smith yn fradwr: ond yr oedd hyn yn ormod i hyd y nod gyfreithiwr Missouraidd ei oddef; er hyny yn ofer y gwrthwynebodd y barnwr gan ei annog i basio dedfryd o fradwriaeth yn erbyn y Bibl a'i awdwr!

---

## PENNOD XVIII.

### ARAETH Y CADFRIDOG CLARK YN FAR WEST.

Yr hyn a ganlyn sydd ddyfyniad o araeth Cadben Clark, un o'r prif lywyddion milwraidd yn y dalaeth. Traddodwyd hi yn *Far West*, wedi i'r *mobs* gael gan y trigolion roddi eu harfau iddynt hwy, dan yr addewid o gael llonyddwch, ac yna rhuthro i'w tref, a gwneyd a fynent.

Yr oedd hwn nid yn unig yn flaenor milwraidd, ond yn brif genadydd enwad-lliosog yn y parthau hyny, a'i brif offerynau neu swyddwyr, yn ei fyddin oeddent yn gyfartal a'u swyddau eglwysig, ac a dalwyd gyda *beauty a booty* y Saint wedi y goncwest hono a ddechreuodd eu brodyr ag oeddynt yn genadau yn mhlith yr Indiaid, drwy gyhuddo y Saint a elai i bregethu iddynt o fod yn ceisio perswadio yr Indiaid i ymuno â hwynt i lâdd y bobl, a meddianu y wlad! Ie, druain, er mor anhygoel oedd hyn; er fod holl fyddinoedd Lloegr a'r Indiaid wedi methu â llwyddo yn hyn pan nad oedd yr Americaniaid yn un ran o ddeg mor liosog! etto i gyd llyncid y cyhuddiad afresymol hwn, fel pob un arall o'r fath eneuau santaidd yn erbyn y Saint, gan lawer o'u hudolion, er gwarth i enw yr hen Wesley addfwyn a da.

Dechreuodd y cadfridog ei araeth fel y canlyn; a haeddai ei chroniclo yn mhob Eurgrawn drwy Gymry, ar byd!

"Foneddigion,—

"Caniateir i'r rhai sydd â'u henwau yn y rhestr hon [oedd yn ei law] ddychwelyd at eich bussness. Y lleill a ant oddiyma i garchar, a gondemnir, ac a gospir yn gyfesur i'w troseddau. Ymddibyna arnoch chwi i gyflawni y cyfammod a wnaethoch, fel y canlyn:— Y peth cyntaf yn y cyfammod oedd, fod i chwi roddi eich blaenoriaid i afael y gyfraith, yr hyn a wnaethoch. Yr ail beth oedd, fod i chwi roddi eich holl arfau i fyny; hyn hefyd a wnaethoch. Y trydydd peth yw, fod i chwi *signio* drosodd eich tai, eich tiroedd, a'ch meddiannau, i dalu cost y rhyfel hwn; hyn hefyd a wnaethoch eisoes [do gorfodwyd rhai i hyny ar flaen y *bagnets!!!*] A'r peth nesaf sydd raid i chwi ei wneuthur, ydyw, myned ymaith o'r dalaeth yn ddioed. Nid yw eich teimladau na'ch dieuogrwydd ddim i mi. Y Cadben Lucas (swydd yr hwn sydd gyfartal i'r eiddof finnau) a wnaeth y *fargain* yna â chwi [ni fu *bargain* na dewis yn y peth, ond eithaf gorfodaeth]; ac yr wyf finnau yn ei gymmeradwyo. Yr un fath a wnaethwn fy hun, ac yr ydwyf yn benderfynol i'w gyflawni. Gorchymynodd y llywydd i mi eich alltudio, ac mi a'i gwnaf. Pe na roddasid eich blaenoriaid i fyny, buasai eich teuluoedd wedi eu dinystrio, a'ch tai yn lludw cyn hyn [ebe y *Reverend* addfwyn hwn!] Ymddiriedwyd awdurdod oddefol i'm llaw, ac i mi yr ydych yn ddyledus am y tiriondeb a'r *lenity* hwn [beth yw!] Nid gwiw i chwi feddwl am aros yma dros dymmor arall, nac am roi cnwd yn y tir, onide daw y bobl am eich penau, ac a'ch dyfethant. Os bydd i'ch anufydd-dod fy ngalw yma etto, gallwch gredu na byddaf mor drugarog, ac ymarhous y tro nesaf; yn ofer y dysgwyliwch drugaredd o'm llaw, namyn alltudiaeth; canys tyngais i gyflawni gorchymyn y llywydd yn gyfangwbl. Am eich blaenoriaid, na feddyliwch, na ddychymygwch, ac na chaffed y gobaith le am foment yn eich meddyliau y dychwelant hwy byth yn ol atoch. Mae eu tynged wedi ei sefydlu, *their die is cast, their doom is sealed.* Yr ydwyf yn rhyfeddu atoch chwi fod cynnifer o foneddigion, o ymddangosiad trefnus a dealltis, yn y fath sefyllfa; ac O, pe gallwn erfyn ar Ysbryd y Duw mawr nid adwaenir i orphwys arnoch [ebe Satan pan ymrithiodd fel angel y goleuni], a'ch rhyddau o'r fath rwymau rhagfarnllyd [ei gleddyf a fethodd wneyd hyny], ac i ddryllio llyffetheiriau y penboethni a'ch rhwyma [y meddyg iachâ dy hun], fel nad addolech ddyn

mwyach [dyna beth na wnaethant erioed ond i un dyn, sef Crist Iesu.] Cynghorwn chwi i wasgaru, a pheidio byth etto reoleiddio eich hunain o dan esgobion, offeiriaid, &c."

Clywch Eglwys Loegr! Clywch ysbrydoedd yr esgobion, a'r offeiriaid a osododd Duw yn ei eglwys! ïe, clywch Ddeistiaid y byd, mor eofn yw eich brawd milwraidd o Missouri uwchben tyrfa o bobl ddiniwed a diamddiffyn a feiddiant addoli yn ol y Testament Newydd! Beth a feddyliasai ei dad Wesley o'i fab afradlon hwn yn ymddwyn mor greulon at ei fam ef, yr hon a'i magodd ar liniau esgobion ac offeiriaid? Ofnadwy yw'r fath broffes yn awr, ebe Cadben Clark, a chyd-dystia rhuad ei fagnelau, a thwrf ei arfau gwaedlyd; a pheth arall! Tystiodd griddfanau ei drancedigion, ochain y weddw, a griddfanau yramddifaid, ynghyd â gwaed ei laddedigion, drwy'r awyr, nes cyrhaedd clustiau eu Tad, sef Arglwydd Dduw y Saint. Mae eu gweddiau yn gostreledig, a'u dagrau yn gyfrifedig yno, ac wedi eu hateb mor belled nes i'w feistriaid o'r pwll isaf gael cenad i bersonoli eu heiddo wedi hyn, nes ei ysgubo ymaith mewn dychrynfeydd annysgrifadwy i'w le ei hun mewn barn, ac yno gadawn ef; ond dyfynasom yr uchod o'i araeth, er esiampl o eithafion dirywiad dynoliaeth, a rhybydd i ereill beidio ei efelychu mewn rhagrith a rhagfarn rhag bod eu diwedd hwynt fel ei ddiwedd yntau!

Cyn ei ddiwedd truenus, ac i'r dyben o'i gyfiawnhau ei hun a'i bleidwyr am y creulonderau, y lladradau, a'r llofruddiaethau hyn, cyhoeddodd y Clark hwn ei esgusawd, yn yr hon y cyhuddai y Saint o'r pethau gwaethaf a wnaeth ef a'i ganlynwyr. Er enghraifft, cyhudda y Saint o losgi ty un wraig, ac iddi hithau orfod dianc gyda'i dau blentyn yn y nos am ei bywyd, yn absenoldeb ei gwr, &c. Do, cyhoeddwyd hyn ganddo, a chafodd yr ystori *free passage* dros y môr, ei chyfieithu a'i chyhoeddi am wir yn y "*Seren Gomer*," oddiar awdurdod y fath ddyn â Clark. Ond y gwir o'r ystori sydd hollol groes o ben i ben; ni sonir am ond un amgylchiad a ddyoddefa y darluniad gan y naill blaid nâ'r llall; ac un o'r Saint oedd y wraig druan, a gwraig i un o'r Saint o'r enw Smith, yr hwn oedd wedi myned i dalaeth Virginia ar fussness ar y pryd. *Mobs* o dan arweiniad un Bogart, sef brawd pregethwrol i Clark, oedd yr ymosodwyr. Yn y nos rhybyddiasant hi i ymadael yn y fan os mynai achub ei bywyd; ond cyn iddi gael amser i wisgo nemawr ddillad am dani ei hun, na'i phlant, yr oedd ei thy yn wenfflam uwch ei phen, a'r oll a feddai ynddo. Yr oedd eira dwfn ar y ddaear pryd hyny, a chanddi hithau amryw filltiroedd i fyned i'r fan lle dysgwyliai amddiffyniad, sef i dy un o flaenoriaid y Saint o'r enw Lyman Wight, lle y cyrhaeddodd cyn dydd, serch iddi orfod croesi afon fawr a pheryglus pan yr oedd y ffrwd at ei cheseliau. Ond y syndod yw, fod dynion yn gallu bod mor rhydd, nid yn unig i gyflawni hyn, ond i'w dadogi ar y dyoddefyddion! Etto mae genym hanes am y cyffelyb bethau yn gywir yn yr erlidigaethau gynt, megys, Nero yn gosod Rhufain ar dân â'i ddwylaw ei hun, ac yna yn cyhuddo y Saint o hyny i'r dyben yn bwrpasol o godi erlidigaeth i'w herbyn, yr hyn a lwyddodd i ladd a llosgi miloedd o honynt yn ddieuog! Felly gwyddai y Nero hwn am lwyddiant yr hen ddichell. Ni buasem yn sylwi cymmaint arno, oddieithr fod awduron yn

rhoddi cymmaint o bwys a chyflymdra i'w gamgyhuddiadau ef a'i gyffelyb; ac hefyd fel na siomer neb pan gynnyddo eu cenfigen hwy, a'n duwioldeb ninnau yn ddigon amlwg i achosi y fath olygfeydd yn nes atom: ffolineb yw dysgwyl amgen.

Wedi dangos i'n darllenwyr un cip olwg ar olygfa arall yn y *tragedy* a'r erlidigaeth Missouraidd, awn yn mlaen at olygfeydd mwy dymunol.

A ganlyn yw tystiolaeth dyn o'r enw Joseph Young, a'i wraig, am laddfa a elwir "*Haun's Mill Tragedy*" yr hon a roddwyd ar lw, ac amryw ereill yn cyd-dystio i'w geirwiredd.

"Y trydydd dydd ar ddeg o Hydref, croesais yr afon Mississippi ar fy nhaith i gwr gorllewinol talaeth Missouri, ac a ddilynais yn mlaen nes croesi y Grand River, a'r FERRY Campton. Yma rhybuddiwyd fi, os awn yn mlaen y cereherid fi gan ŵyr arfog ag oeddynt yn crwydro drwy'r wlad "i hela Mormoniaid." Nid allwn archwaethu y fath ormes yn y wlad rydd lle y'm ganwyd heb ddim achos o hono; hònais fy hawl i ymchwilio am wrthddrych fy serch, sef lle iachus a heddychlon i sefydlu fy hun a'm teulu, lle y caffem fwynhau cymdeithas ein cyfeillion; ac yn y blaen yr aethym hyd swydd *Caldwell.* Wedi croesi afon *Shoal* tua thair milltir, cyfarfyddais â thua deugain o *fobs* arfog â drylliau, ac ar geffylau; gorchymasant i ni droi yn ol, onide bygythient ein lladd yn y fan. Gofynais paham y gwaharddiad hynod hwn? Atebasant, mai oberwydd ein bod yn Formoniaid, ac ychwanegasant y gorfodid pob un a broffesai y grefydd Formonaidd naill ai i'w gwadu neu i fyned ymaith o'r dalaeth erbyn pen deng niwrnod. Felly gyrasant ni yn ol hyd felin Whitney, lle yr arosasom dridiau; yna aethom ar hyd llwybrau dirgelaidd tua "*Haun's Mill,*" lle y cyrhaeddasom y Sul, ac y cawsom nifer o'n brodyr yn cynnal addoliad. Deallwyd fod y *mobs* yn ymgasglu at eu gilydd yn y gymmydogaeth hon hefyd, o dan arweiniad un Col. Jennings, o Livingston, gan eu bygwth â llosgiad a lladdfa. Yn ganlynol i'w penderfyniad, ymbarotôodd y Saint i amddiffyn eu hunain; 28 yn unig a feddent arfau, y rhai a wylient bob mynyd am yr ymosodiad. Yn yr hwyr daeth un o'r terfysgwyr i'n plith, ac a gyfammododd dros y lleill fod iddynt hwy a ninnau wneyd a allem i gadw heddwch; ond buan y deallasom mai brad oedd hyn i'n tynu oddiar ein gwyliadwriaeth, a hwyluso eu hamcanion. Dranoeth deallasom fod *mobs* ereill yn ymgasglu wrth *Grand River*, dan lywyddiaeth y Wm. Mann hwnw a'n troisai yn ol, ac ar ddydd Mawrth, sef y 30ain, cyflawnwyd y lladdfa waedlyd hòno, yr hon olygfa nid anghofiaf byth.

"Aeth dwy ran o dair o'r dydd hwnw heibio mor wenieithus a'r dydd o'r blaen. Nid wyf yn meddwl y gwyddai neb o'r cwmni ddim am y dynged a hongiai uwch eu penau ar y pryd, a'r hon yn ddisymwth a ddinystriodd braidd ddeg-ar-hugain o deuluoedd. Yr oedd ar lanau afon Shoal, o'r ddau tu ar y pryd, lawer o wragedd yn golchi, &c., y plantos diniwed yn chwareu o'u deutu, a'r dynion yn brysur gasglu eu hymborth gauaf i mewn neu yn gwylied y melinau. Yr oedd yr hinsawdd yn hyfryd, yr haulwen yn tywynu yn ddisglaer, a'r holl olygfa yn heddychlon a hyfryd. Ond, tua phedwar o'r gloch, pan yn eistedd yn nrws fy nhy, a fy mabau yn fy mreichiau, a'm gwraig yn sefyll wrth fy ochr, yn ddisymwth cyfnewidiodd yr olygfa

yn rhyfedd! Tu hwnt i'r afon gwelwn lu o wyr arfog yn carlamu tuag atom nerth traed eu meirch; yna ymfyddinasant i frwydro ar ein cyfer; a'r hyn un o'n brodyr, o'r enw David Evans, yn ystyried eu lluosogrwydd rhagor nyni (canys yr oeddent dros 240 o nifer) a amneidiodd am heddwch: ar hyn rhuthrasant arnom, a'u harweinydd Comstock a saethodd ei ddryll gyntaf; yn nesaf saethasant gawod o fwlo'u drylliau, dros gant ar unwaith, i mewn i efail gôf gerllaw, lle yr aethai ein brodyr i ymguddio. Nesasant wed'yn, ac a wthiasant eu drylliau rhwng y coed, o ba rai yr adeiladesid yr efail gôf, a rhigolau mawr rhyngddynt â'u gilydd, nes y gallent anelu fel y mynent at y trueiniaid mewnol. Or tu ol i'r efail yr oedd amryw deuluoedd yn trigo mewn pebyll heb gael amser etto i adeiladu tai, pa rai oedd mewn perygl mawr, nes iddynt yn nghanol cawod o fwledi i ddianc i'r coed.

"Wedi syllu ar yr olygfa waedlyd hon am ychydig fynydau, gorchymynais fy nheulu i ofal y nefoedd, a'r bwledi eisoes yn ehedeg oddeutu'm ty, myfi a giliais yn ddirgelaidd i'r coed, gan ddilyn tri o'm brodyr a welwn o'm blaen. Pan ar ochr bryn gerllaw, yspiwyd ni gan y *mobs*, y rhai a barhausant i saethu atom ni nes i ni ddianc o'u golwg i'r ochr arall i'r bryn; yna myfi a ymguddiais mewn man dirgel hyd wyth o'r gloch yn yr hwyr, pan y clywwn lais menywaidd, nid neppell oddiwrthyf, yn galw fy enw, ac yn hysbysu fod y *mobs* wedi cilio. Daethum allan o'm hymguddfa, a dychwelais gyda hi i dy y brawd Ben. Lewis, lle y cefais fy nheulu, a dau o'm cyfeillion wedi eu clwyfo yn farwol, a bu un o honynt farw cyn y boreu. Yma treuliasom y noson hòno yn dwys fyfyrio ar y galanasdra a'r golled fawr a diachos hon. Boreu dranoeth aethum i, a phump ereill a ddiangasai yn fyw, i'r coed at y felin i edrych sefyllfa pethau yno; ac wedi cyrhaedd, gwelem gorff Mr. Merrick y tucefu i dy Mr. Haun, ac un hen wr dros bedwar ugain mlwydd oed, o'r enw M'Bride, yr ochr arall i'r ty wedi cael ei dòri yn ddarnau braidd o'i ben i'w draed. Hysbyswyd ni gan un o'r edrychwyr o'r enw Miss Rebecca Judd, ddarfod i'r terfysgwyr saethu yr hen wr penllwyd, druan, â'i ddryll ei hun wedi iddo ei roddi i fyny iddynt; yna archollwyd ef felly gan un Mr. Rogers o swydd Caldwell, gyda *corn cutter* (darn o bladur), yr hwn a ymffrostiai wed'yn o'r gorchestwaith hwn. Cawsom gorff Mr. York i mewn yn y ty, ac wedi ymgeleddu y rhai hyn aethom at yr efail gof; ac yno (O, y fath olygfa!) y gorweddai ein brodyr yn garneddau ar draws eu gilydd mewn gwaed, fel na ellid eu hadnabod braidd. Cawsom wyth wedi marw, ac un arall o'r enw Mr. Cox, yn ddiweddar o dalaeth Indiana, yn mhangau angeu, a bu farw wrth gael ei symud. Yr oeddym mewn cymmaint o berygl o ail ymosodiad y terfysgwyr arnom, a dyfetha yr ychydig weddill a adawsid (canys credem eu bod yn ymguddio yn y coed i'r perwyl hyny), fel na allem wneuthur i'n cyfeillion angladdau fel y dewisem, ond yn unig eu claddu ar frys mawr mewn lle a gloddiesid yn bydew. Yn mhlith ereill o'r trancedigion, nodaf am un Sardius Smith. Bachgenyn naw mlwydd oed ydoedd; a chan ofn efe a ymguddiasai o dan y fegin yn yr efail yn ddiogel drwy y lladdfa, hyd nes y gwelwyd ef wed'yn gan ddyn o'r enw Mr. Glaze o swydd Corrill, yr hwn, mewn gwaed oer, a ddododd ffroen ei ddryll

wrth ei ben ef, ac a'i chwythodd ymaith yn ddarnau! Hysbyswyd fi gan Mr. Stanley, cymmydog Glaze, ei fod yn ymffrostio o'i ddewrder am hyn yn ei gartref wed'yn. Y nifer a laddwyd ac a glwyfwyd yn farwol ar y pryd hyn, yn ol a ddeallaf fi, oedd 18 neu 19 [yna canlyna restr o'u henwau]. Yn mhlith y rhai a iachaodd o'u clwyfau yr oedd un Isaac Laney, yr hwn yr aeth dwy fwled drwy ei gorff, un drwy bob braich, a dwy drwy ei forddwydydd, a Nathan K. Knight a gafodd fwled drwy ei gorff, a Mr. Yokum drwy ei ben a manau ereill yn erwin, a Jacob Myers, Mr. Haun, ac amryw ereill, a glwyfwyd yn ddwfn. Miss Mary Studwell, wrth ddianc, a saethwyd drwy ei llaw, pan gwympodd mewn llewyg y tucefn i bren yn yr hwn y cafwyd wedi hyny dros ugain o fwledi.

"I gyflawni eu galanasdra, ymosododd y terfysgwyr hyn (y rhai a arweinid gan y bobl fwyaf eu dylanwad o'r pump swydd cylchynol) i yspeilio y tai, y pedrolfeni, a'r pebyll, hyd y nod o'r gwelyau, dillad, a phob peth arall a allent ddefnyddio, gan gymmeryd ymaith rai ceffylau a phedrolfeni, a gadael y gweddwon a'u plant yn hollol amddifaid o luniaeth i gynnal natur, ac yspeiliasant hyd y nod gyrff y lladdedigion o'r gwisgoedd oedd o werth eu cael! Yn ol eu haddefiad eu hunain, saethasant saith waith ar gylch yn y lladdfa waedlyd hon, yr hyn a wnai dros 1500 o fwledi, at y cwmni bach a diniwed hyn o tua 30.

"Yr ydym ni yn tystio fod yr holl hanes uchod, hyd eithaf ein gwybodaeth ni, yn wirionedd bob gair. (Arwyddwyd)

"Joseph Young,
"Jane A. Young."

Gallem ddyfynu cyfrol o'r cyffelyb hanesion am ddyoddefiadau y Saint dan ormes eu gelynion, i gyd oherwydd eu crefydd, a phrofi hefyd mai pregethwyr sectaraidd oedd y mwyrif o'r capteiniaid selog a achosodd hyn oll; ond ymattaliwn.

Dichon yr hanesion uchod ymddangos yn anhygoel, mae'n wir, gan ein darllenwyr Cymreig, oherwydd y meddyliant na adawai y llywodraeth i'r fath bethau gymmeryd lle; ond cofier ar yr un pryd y gwahaniaeth sydd rhwng y llywodraeth hon a gwerin-lywodraeth, mewn gororau newydd o honi hefyd Cofier am y terfysgoedd ereill a fu yn eu tro drwy bob talaeth, a diflana yr ammheuaeth pan gofir beth yw natur a greddf sel gaugrefyddol wedi bod yn y cynoesoedd drwy'r byd, yn enwedig pan y caffent, fel y rhai hyn, nid yn unig oddefiad, ond gorchymyn a grym y llywodraeth i gyflawni eu dedfryd, boed a fyddo.

Meddylia rhai na wnaethid hyn yn yr "oes oleu hon," fel ei gelwir, oddieithr fod y dyoddefyddion yn euog o droseddau i'w hachosi a'u teilyngu. Ond yr ail feddwl a ofyna, Beth a allasent gyflawni er teilyngu y fath driniaethau? Beth, er cael eu halltudio o'u gwlad eu hun, pan nad oes gyfraith yn y wlad hòno yn caniatâu alltudiaeth am unrhyw drosedd? Beth a'u cyfiawnha am ferthyru yn ddirybydd, dibrawf, a didrugaredd, yr hen yn gystal â'r ieuanc, gwrryw a benyw, a phawb yn ddiwahan? Pa esgusawd sydd yn eisieu ar ddynion a allant wneyd hyn oll, a threisio fel bwystfilod wragedd diwair hyd farw? Y rhai a allent gael esgus digonol i hyn, a allent mor briodol ymorfoleddu ynddo heb un achos nac esgus ychwaith! Achos, aiê? Achos

i hyn oll! Os euog rhai, paham na phrofasant yr euog yn gyfryw, a'u cospi am hyny, yn lle y *canibalism* hwn. Nid oedd enw un o'r Saint ar holl groniclau y dalaeth yn euog o droseddu un o'i chyfreithiau pan ymosodasant arnynt.

Heblaw hyny, onid ellir haeru mor briodol fod y Saint yn amser yr apostolion yn euog ac yn teilyngu yr erlidigaethau a ddyoddefasant yn Jerusalem, yn Rhufain, dan Nero, a llawer ereill? Beth a deilyngodd iddynt ormes Maximus, &c.?

Onid yr un peth fyddai haeru fod y Cwaceriaid yn haeddu eu llosgi, fel y cawsant er's ychydig yn ol yn Rhode Island, &c., gan y Presbyteriaid? Ai tybied fod ein tadau ninnau yn haeddu y dirdynu, y carcharu, y llosgi wrth yr ystanciau, a'r arteithiau a gyflawnwyd drwy orchymyn y chwil-lys, &c.? Pa esgus sydd yn eisieu i godi erlidigaeth? Mae digonedd o dân yn ngwythienau y rhai a erlidiant ar esgus i wneyd cymmaint heb yr un esgus, er nad oedd neb o honynt hwythau heb ryw esgusion, ïe, hyd y nod yn erbyn yr Iesu addfwyn ei hun; naill ai yr oedd yn traethu cabledd, neu yr oedd perygl i'r Rhufeiniaid fyned â'u gwlad oddiarnynt, neu rywbeth arall, fel yr haerai y rhai hyn fod perygl i'r Mormoniaid ymuno â'r Indiaid, a myned a'u gwlad hwythau! A diammau yr adroddai eu pleidwyr hwy y cyhuddiadau hyny drwy'r byd mor selog, cyflym, a gonest, ag y gwneir â'r cyffelyb drwy'r byd yn ein hoes ninnau. Etto pa waeth?

Yn nghanol y gauaf, 1838, alltudiwyd yr holl Saint o dalaeth Missouri, a gwnaethant y goreu o'u ffordd drwy iâ ac eira dwfn, amryw gannoedd o filltiroedd hyd Quincy, yn nhalaeth Illinois, tref ar lan afon Mississippi, tua 200 o filltiroedd o'r tu uchaf i St. Louis. Yma cawsant dderbyniad croesawus, a llawer o gynnaliaeth drwy gyfraniadau gan bobl haelionus y dalaeth hon, ac amryw daleithiau dwyreiniol ereill; ac nid oedd nemawr newyddiadur na thalaeth a'r nad oedd yn dyrchafu eu llais yn erbyn gormes ac anghyfiawnder talaeth Missouri; er hyny nid atebodd y dyben i weinyddu cyfiawnder i'r Saint.

---

## PENNOD XIX.

### SEFYDLIAD DINAS NAUVOO.

Yn y gwanwyn canlynol, prynodd y Saint ddarn mawr o wlad, yr hon oedd yn gorwedd tua 40 milltir i'r gogledd o Quiney, ac ar lan afon Mississippi, yn lle hyfryd a dymunol, a thiroedd ffrwythlon am amryw filltiroedd, yn enwedig i'r tu dwyreiniol iddo; perchenogid y tiroedd hyn gan mwyaf gan foneddig o'r enw Mr. Galland, (yr hwn a ymddygodd yn dirion iawn ar y dechreu, ac hyd nes y cafodd dâl am ei diroedd, ac yna a droes yn elyn tost) Mr. Wells ac ereill. Yr oedd yma ychydig o fwthod gwael wedi eu hadeiladu ar lán yr afon, pa rai a elwid "*Comerce*," ond yr oedd y fan yn cael ei ystyried yn rhy afiachus i neb braidd allu byw yno nemawr o amser.

Ymgasglodd y Saint yma, galwasant enw y lle "*Nauvoo*," (ystyr yr hyn yw *hyfrydwch*), ac ymosodasant ar y gorchwyl o lafurio y ddaear, ac adeiladu tai, &c., nerth braich ac ysgwydd; a choronwyd eu diw-

ydrwydd anghydmarol gyda chnydau toreithiog o gynyrch y ddaear y tymmor cyntaf o braidd bob peth at eu hangenrheidiau; a'r celfyddydwyr hwythau nid llai diwyd yn adeiladu tai, siopau, &c., &c., yn y dref; hyd nes y gwelid yno cyn pen y flwyddyn, (ac er syndod i bawb a elai heibio) bawb yn ymddangos yn gysurus, a gwahanol gelfyddydwaith yn llwyddianus.

Ar yr alltudiaeth o Missouri, neu ychydig cyn hyny, yr aeth y cenadon cyntaf â'r "efengyl hon" i ynysoedd y môr; fel, yn lle niweidio y gwaith, achosodd y chwalfa hon o Missouri, fel y gwna cicio y pren mwstard sydd yn ei lawn flodau, achosi i'r hâd chwalu drwy'r ardd, neu fel y chwalfa gynt ar y dyscyblion o Jerusalem. Yn mhlith manau ereill cafodd Brydain glywed yr efengyl dragywyddol hon drwy un o'r apostolion o'r enw Heber C. Cimball, &c. A buan y tyfodd yr hadau mewn tiroedd da nes dwyn ffrwyth ar ei filfed yn fuan, pa rai a ymgasglent i Nauvoo, o'r flwyddyn 1840, allan "fel colomenod i'w ffenestri," gan droi wyneb y wlad tu arall i fyny am filltiroedd oddiamgylch, a chynnyddu mewn pob breintiau a chelfyddydau yn gyferbyniol. Nid hir y bu ysbryd cenfigenus eu cymmydogion deheuol heb ddangos ei hun. Tuag 16 i'r dehau, yr oedd tref fach o'r enw Warsaw, un arall i'r dwyrain tua 18 milltir, sef Carthage, yr olaf oedd prif dref y swydd; a chyngreiriau y lleill i ranu y swydd yn ddwy ran er cael eu tref hwythau yn brif dref iddo, yr hyn a ennillai iddynt fanteision mawrion, swyddau a dylanwad gwerthfawr, heblaw codiad yn mhris y tiroedd a feddent yno ar werth. Cydunodd eu blaenoriaid mwyaf dichellgar y byddai raid iddynt rwystro cynnydd anarferol tref newydd Nauvoo, oedd yn eu curo eisoes mewn rhifedi rhag mai yma y sefydlid y brif dref i'r swydd newydd; ac yna ymosodasant o ddifrif heb un achos arall, i gyhoeddi pob math o ystoriau a chamddarluniadau ar y Saint. Nid wyf yn meddwl (a barnu yr wyf oddiar adnabyddiaeth bersonol ag ef) fod dyn cywreinach, addasach, na medrusach, neu a garai y fussness o gamgyhuddo, difenwi, dyfeisio anwireddau yn gyfangwbl, heb air, sill, nac esgus iddynt, mewn bodoldeb nâ'r offeryn a gyflogasant i'r gwaith hwn o'r enw Thomas Sharp. Yr oedd wedi bod yn ddigon "sharp" i ddianc rhag ei le ei hun ar grogbrenau y dwyreiniol daleithiau fwy nag unwaith! Yr oedd wedi bod yn ddigon *sharp* i ddianc rhag cospau a deilynga y drwgweithredwyr gwaethaf; ac o'r diwedd, o dan arweiniad yr unig un oedd *sharpach* nag yntau, ymlwybrodd i'r bartneriaeth hon i gyflawni mesur ei anwiredd, yr hyn a wnaeth mor gyflym ag y gallai. Cyhoeddai newyddiadur o'r enw "*Warsaw Signal*," yr hwn a olygai ei hun; yn ngholofnau pa un y gwelid pob cyhuddiad mwyaf gwarthus a allai fod wedi ei glywed, wedi ei ddarllen yn hanes ereill, neu a allasai hyd y nod ei galon ei hun ddyfeisio yn erbyn pobl Nauvoo, a'r naill mor ddisail â'r llall. Nid hir y bu golygyddion y wlad hòno heb ddeall pwy a pheth oedd efe, a gwrthod dyfynu na sylwi ar nemawr ddim a ddywedai, mwy nag y coeliai y cymmydogion a'i hadwaenent ef ddim o'i ffiloreg. Ni siomwyd ef yn hyn, gan y gwyddai well na dysgwyl hyny; ond ei brif amcan oedd ymddibynu ar chwalu ei sothach yn mhell, lle nad adwaenid ef na'r "Mormoniaid;" ac felly llwyddodd yn rhyfedd i gael gan newyddiaduron pellenig i ddyfynu yr ystoriau gwaethaf a allai efe lunio

i'w colofnau eu hunain, a'u hanfon gyda'u dylanwad hwynt i ereill, &c. A mwy nag unwaith y darllenasom y "Sharp" hwn yn naturiol fel mewn drych cywir, mewn newyddiaduron Saesneg a Chymreig! ïe, adwaenasem ef pe na buasai ei enw wrthynt oll. Hwn yw (yn briodol) tad y celwyddau ar y Saint tra yn Nauvoo, ac fel y gwelir yn mhellach wrth yr hanes, dyma brif achosydd yr erlidigaethau a'r tywallt gwaed gwirion a fu yno yn ganlynol i hyn.

Yr ennill mwyaf a wnaeth y Sharp hwn oedd drwy ymwerthu i fod yn "*cat's paw*" i'r Missouriaid fyth. Yn siwr, o flaen pob etholiad gwladol y mynai hwn gael naill ai gan Missouri, neu ryw rai o ryw fan, ddwyn rhyw gyhuddiad neu gilydd yn erbyn Joseph Smith o hyd, a'r cyfan yn hollol ddiachos: eu dyben yn hyn oedd, fel y gallent gyhuddo yr wrthblaid, sef y "*whigs*" o hyny, ac felly ennill pleidlais y Mormoniaid, debygasent hwy o ochr y "*Democrats!!*" Costiai yr amddiffyniadau yn ngwyneb y cyhuddiadau hyn filoedd o *ddollars* i Joseph Smith. Dyma yr hyn a gyhoeddid i'r byd am dano, a phob golygydd braidd â'i ddedfryd ar ei ben, druan, ei fod yn siwr o fod yn euog, &c., heb ddeall dim am y peth. Ond, profwyd J. Smith yn hollol lân oddiwrth bob cyhuddiad; ie, hyd y nod er y bernid ef gan ei elynion proffesedig bob tro; a byddai yr awduron hyny mor ofalus i beidio galw yn ol eu cyhuddiadau gan gyhoeddi ei amddiffyniad ag ydynt selog i ymddwyn yn gyffelyb yn ein gwlad ninnau. O'n rhan ni dylem ddiolch i'r Sharp hwn am y wybodaeth a gawsom am y Saint; canys drwy ddarllen ei gyhuddiadau ef ac ereill y tynwyd ein sylw atynt cyn eu gweled, pan yn y wlad hòno yn byw. Wrth ymchwiliad manwl i'w cyhuddiadau, canfyddwn yn eglur eu bod naill ai yn anmhosibl i fod yn wir, yn eu hawydd mawr yn dweyd gormod, neu yn gwrthddywedyd eu hunain ryw fodd, yr hyn a achosodd i mi ymresymu,—Paham y cyduna pawb i draethu y fath gamgyhuddiadau yn erbyn y bobl anadnabyddus hyn? Gwelwn mai gwaith drwg oedd hyn; ac mai rhai gwaeth a *gyflawnai* nag a *ddyoddefai* y fath bethau! Ac heb unwaith feddwl cyn hyn fod y Mormoniaid fel eu gelwid yn proffesu, nac yn credu y grefydd Gristionogol, na'n Bibl ni, mynych y gofynwn beth a ddichon fod yn achosi hyn oll i'w herbyn hwy yn anad pawb ereill? Rhaid mai rhyw rinweddau bid siwr a gynhyrfai gelwyddwyr i'w herbyn; ac felly rhaid eu bod hwythau yn fwy rhinweddol na'u herlidwyr cyn y dyoddefent gymmaint o boenau, carcharau, a cholledion. Fel hyn yr ymresymwn o barthed iddynt am ysbaid, heb weled neb o honynt, na darllen dim o'u gwaith. Yn mhlith yr ystoriau ereill a glywswn, un oedd "eu bod yn dal pob peth yn gyffredin," "fod Joe Smith wedi bod yn ceisio cerdded ar y dwfr," "ei fod yn hòni gallu gwyrthiol;" ac ereill a ddywedent "yr hònai mai efe yw y Crist." Hefyd darllenais y *Spaulding Romance*, fel ei gelwir, yn proffesu amlygu tarddiad gwreiddiol "Llyfr Mormon," ac mai gwaith dyn o'r enw uchod oedd, &c. Ac er y canfyddwn ddigon o brofion mewnol yn y lleill i brofi mai celwyddau oeddynt i'm boddlonrwydd; etto, cyfaddefaf nad allwn yn fy myw braidd, ie, wedi cael ffeithiau cedyrn i'r gwrthwyneb, beidio a chredu yr olaf. Yr oedd wedi ei gwau mor gywrain—wedi ei sicrhau gan gynifer o dystion, debygaswn, o gymmeriadau uchel, yn enwedig pan welwn wrthi gynnifer o *Reverends*, i'r rhai y pryd hyny yr ystyriwn *reverence* nid bychan, a chrediniaeth yn deilwng; ie, braidd na feddyliwn fod yn an-

mhosibl i'r rhai a feddai y teitl hwn ddweyd, llawer llai *ardystio*, dim amgen na'r hyn a wyddent ei fod yn "efengyl." Ond rhyfedd fel y'm siomwyd yn hyn! Nid o'm bodd, ond erbyn fy ewyllys i raddau, y'm gorfodwyd i addef gyda syndod fy nghamgymmeriad; ac nid cyn hyny y gallais ymysgwyd o'r llyffetheiriau a rwymasai gwyr y teitl hwn am fy enaid braidd yn ddiarwybod i mi o'r blaen! nag y cefais wared o éffeithiau gwenwynig yr ystori hon o'm meddwl. Os oedd rhyw rai yn teilyngu y "*gwynfyd*" a addawodd Iesu Grist pan ddywedai pawb yn ddrwg am danynt, yn rhwydd yr addefwn mai y "*Mormoniaid*" a'u teilyngai.

Yn fuan daeth i'm llaw, ryw fodd yn hollol ddamweiniol, ddarn o lythyr a ysgrifenasai gwraig Joseph Smith at ryw chwaer grefyddol pan yr oedd hi gyda'i gwr yn ngharchar Missouri; ac nid anghofiaf byth y teimladau a achosodd y darn llythyr hwnw i mi! Canfyddais ynddo yn eglur nid yn unig fod ei awdwr yn credu y Testament Newydd fel ninnau—yn proffesu y grefydd apostolaidd, ac yn gorfoleddu yn nghanol ei thrallodion o fod yn deilwng i ddyoddef hyn oll er mwyn tystiolaeth yr Iesu a'r efengyl; ónd ei fod yn cynnwys gwell cynghorion, mwy o ddoethineb, ac yn dangos ysbryd mwy efengylaidd a duwiolfrydig na dim a ddarllenaswn erioed! Darllenais ef drachefn a thrachefn; braidd nad ystyriwn ef yn ffrwyth meddylddrychau yr oes apostolaidd yn hytrach nag ysgrifen gwraig dyn mor rhyfygus—a hollol annuwiol ag y darluniasid y "Joe Smith" hwnw i mi: ond pa amlaf y darllenwn, mwyaf fy awydd i feddiannu o ysbryd a gobeithion ei awdwr, serch costio carcharau i minnau. Ni foddlonwyd fy meddwl wed'yn nes cael gafael ar un o'r Mormoniaid, ac, wedi ei gael, nid dwy na thair noson yr eisteddasom i fyny yn unig i ymchwilio i'r gwahaniaeth barnau oedd rhyngom am yr efengyl; ac er fy syndod mawr, canfyddais fy mod braidd yn gyfan oll yn Formoniad eisoes, yr hyn pan ddeallais a'm dychrynodd yn fawr; canys rhagwelwn fy mhoblogrwydd wedi darfod y fynyd y cawn yr enw dirmygus hwn arnaf; ac o ganlyniad, fy mywoliaeth a'm cyfan. Symbylodd yr ystyriaethau hyn fi i chwilio am wrthddadleuon digonol i lonyddu fy nghydwybod, ac i'w gwrthod; ond diolchaf byth, gwaith rhy galed ac anorphen i mi oedd hyny. Gorfodwyd fi i dòri drwy bob rhwystrau nad beth fyddai y canlyniadau i ufyddhau i gymhelliadau cydwybod effro yn ngwyneb gair dwyfol yr ysgrythyrau. Ufyddheais i'r ddefod ddwyfol o fedydd yn y *Mississippi*, sef "tad y dyfroedd," a gwn nad edifarhaf am hyny byth, os caf nerth i barhau hyd y diwedd. Er hyn, nid oedd genyf un gronyn o gariad at y "Joe Smith" hwnw rywfodd; gallaswn lyncu braidd bob peth ond fod hwnw yn brophwyd i Dduw. Erbyn i mi ddeall fy hun, yr oeddwn wedi ffurfio rhyw ddychymygion rhyfedd am ba fath ddynion oedd y prophwydi gynt; ystyriwn y byddai ganddynt hwy, ac o ganlyniad gan "Joe Smith" cyn y gallai fod yn brophwyd, naill ai croen defaid neu eifr yn wisg, barf hir, a gwallt gwyn a llaes; y byddai ei wyneb yn hir a chrychiog, a'i drem yn uchel ac ymneillduol; yn tuchanu cryn lawer, ac yn santaidd iawn. Braidd nad ystyriwn mai crwydryn a ddylasai fod ar hyd y mynyddoedd heb ddyfod i dy nac at ford byth, ond byw ar locustiaid, &c.; a phan y deuai i blith pobl i draethu ei genadwri ddwyfol, y gwnai hyny mewn dull a brofai i bawb mai prophwyd ydoedd! Pan yr oedd dychymygion disail fel hyn yn ymgynheu-

am le yn fy meddwl ar yn ail â'r mil ond un o gamgyhuddiadau mor ddisail a glywswn am y person nodedig hwn, aethym a'm hagerfad gyda thros 300 o ymfudwyr (Saint) o St. Louis tua Nauvoo. Pan gyrhaeddasom daeth torf fawr o bobl barchus yr olwg i'n cyfarch yn groesawus iawn; y fath siglo dwylaw a chusanu yn mhlith y benywod, a'r fath *hearty welcome* wrth gwrdd â'u gilydd a'm synodd beth; ond er siomedigaeth fwy fyth, pan redai fy ngolygon drwy'r dorf am y prophwyd a ddarluniaswn, a methu gweled neb yn debyg, daeth dyn mawr a golygus ataf yn y dorf ar y bâd gan gydio yn fy llaw, a'i gwasgu yn garedig, gan ddweyd, "*God bless you brother*," fwy nag unwaith; ond cyn i mi allu gofyn ei enw, yr oedd o'r golwg; ac yna daeth heibio drachefn, pryd y deallais fod fy llygaid am yr ail dro wedi gweled Joseph Smith y prophwyd Mormonaidd! ac er prysured oeddwn hyfforddiais beth amser i syllu arno, a chanfyddais ynddo bob peth yn groes i'm dysgwyliad. Ei wynebpryd glân, a'i ruddiau siriol a diddichell a'm hargyhoeddasant braidd nad efe oedd y dyn cyfrwys a dichellgar a glywswn am dano; y cariad rhyfeddol a'r parch a ddangosai pawb iddo, a'i ostyngeiddrwydd yntau, a'm gorfododd i gredu nad dyma y gormeswr creulon hwnw a ystyriai bawb fel yn gaethion iddo ef; ïe, mewn gair, buan y'm hargyhoeddwyd mai camgyhuddiadau oedd llawer o'r hyn a glywswn am y dyn hwn. Aethum gydag ef i'w dy; ac adroddodd i mi mewn byr eiriau hanes mwy o'i ddioddefiadau oherwydd ei grefydd nag a feddyliaswn yn bosibl braidd i neb allu dyoddef cyhyd. Etto yr oedd mor sicr o'i bwnc, ac mor ddiysgog yn ei benderfyniad â chraig oesol. Ymffrostiai drwy'r cwbl fel pe buasai ar ei ennill, a chyn ymadael o'i gwmni braidd na synwn pa fodd y gallasai neb ammau os oedd prophwyd i'w gael nad hwn yw. Yna gwelais ac ymddyddenais â'r hon a ysgrifenasai y darn llythyr hwnw am synodd gymmaint; ond nid oedd hwnw yn cynnwys mo'r hanner o'i doethineb; o'i deutu gwelwn dri bachgen ac un ferch, tua deg mlwydd oedd yr henaf; yn ei chadair ddwy fraich yn y gongl yr oedd ei fam oedranus (dros 80) o'r hon yr oedd yn barchus iawn. Dywedai fod penllwydni ei hên dad wedi ei ddwyn i fedd dan erlidigaeth. Wedi hyn aethum gydag ef oddeutu y ddinas (canys yr oedd yn teilyngu yr enw erbyn hyn), a chanfyddais bawb o honynt wrth eu gwahanol orchwylion, ac yn ymddangos fel dynion ereill, ond yn fwy glandeg a diwyd na chyffredin: wedi amgylchu y lle, methais weled meddwyn, na lle i feddwi, llw, nac un oferedd! Ai tybied, ebe fi, mai anwiredd yw'r oll a glywais am y fan, a'r bobl hyn? Os nadê, pa le y mae y "mûr mawr a amgylchai y ddinas fel na chaffai neb ddychwelyd o honi yn fyw" fel y clywswn? Nid oedd yno ddwy gareg ar eu gilydd i'r dyben hyny! Pa le yr oedd yr holl "gaethion" a glywswn, a'r fussness o "bob peth yn gyffredin," a llawer o bethau rhyfedd ereill? Mae pawb yma mor rhyddion ac annibynol â neb a welais; ïe, a phob un yn llawen fwynhau ei feddianau, ffrwyth ei ddiwydrwydd, ei deulu, ei arian, a'i feddyliau neu ei farn ei hun yn ddirwystr; ac amddiffyniad gwladol i hyny. Yn lle "bod Joseph Smith yn cymmeryd eiddo ereill," na neb o'r blaenoriaid ereill ychwaith yn cael eu cynnaliaeth oddiar gost ereill, fel y gwna y "Peirch.," a'r awduron a'u cyhuddant, maent hwy yn cynnal eu teuluoedd ar eu traul eu hunain. Fel hyn

cefais yma bob peth o chwith i'r hyn a glywswn am y lle hwn a'i breswylyddion, nes erbyn cyrhaedd i'r bâd yn ol yr oeddwn braidd yn barod i ddweyd na chredwn ddim o hyn allan am danynt, ond a welwn; neu ynte, penderfynu credu yn groes i'r hyn a ddywedai eu gelynion am y Mormoniaid o leiaf; a diau fod lluoedd fel finnau a aethant yno a'u meddyliau yn llawn rhagfarn, ac a ddychwelasant oddiyno yn hollol groes eu barn am y lle a'r bobl. Gwelais luoedd o'r cyfryw yn ystod yr amser ag y buom yn cludo rhai miloedd o ymfudwyr yno wedi hyny; ac yn mhlith ereill bydd yr hanes a ganlyn o eiddo y "Parch. Samuel A. Prior," gweinidog Wesleyaidd, yn ddifyrus ac eglurhaol am ansawdd Nauvoo a'i thrigolion; yr hwn a gyhoeddwyd yn un o newyddiaduron y wlad hòno ar y pryd.

---

## PENNOD XX.

### DESGRIFIAD O DDINAS NAUVOO A'I THRIGOLION.

"Mr. Golygydd,—Nid wyf yn foddlon i ddychwelyd o Nauvoo heb gynnyg cydnabyddiaeth o'm diolchgarwch gwresocaf am y caredigrwydd annysgwyliadwy, a'r sirioldeb a ddanghoswyd i mi tra y bum yno. Cyfaddefaf ddarfod i mi gychwyn ar fy ymweliad â'r lle hwn dan gryn ragfarn yn ei erbyn.—Bum mor anffortunus â byw yn mhlith pobl a ystyriant Formoniad braidd o ryw rywogaeth arall, heb debygoli nemawr i'r gweddill o'r hil ddynol. Gorlifwyd fy nghlustiau mor aml gan ystoriau am eu drygioni a'u hanfoesoldeb, fel y dysgwyliwn, er ymdrechu llawer i fod yn ddiduedd, weled yma lawer o bethau anurddol i gymmeriad Cristion, os nad yn warthus i gymdeithas. Ymgasglodd fy nghyfeillion o'm hamgylch pan ddeallasant fy amcan, gan fy rhybuddio i ymochelyd rhag y naill beth, a bod yn ofalus rhag y perygl arall, a sylwi yn fanwl i gael y gwir, yr hyn a benderfynwn wneyd, serch i mi aros yno yn hir i'r dyben hyny. Cychwynais ar draed, tua thriugain milltir o ffordd. Ar fy nhaith cefais amser i fyfyrio ar fy amcan a'm dyben, ynghyd â'r cyflwr y dysgwyliwn weled Nauvoo a'i thrigolion. Wedi cyrhaedd o fewn ugain milltir i Nauvoo, ymwelais â rhai o'm hen frodyr crefyddol a ymunasent â'r Mormoniaid. Derbyniasant fi yn groesawus a boneddig tuhwnt i'm dysgwyliad; yma fe'm siomwyd gymmaint er gwell, fel y dechreuai y carreiau traddodiadol ymddattod yn raddol, a minnau i gywilyddio oherwydd yr opiniynau a feithrinais am y bobl hyn. Er nad allwn gyduno â hwynt am bethau crefyddol, etto hoffwn eu gonestrwydd, eu gwybodaeth, a'u parodrwydd i ymchwiliad pwyllog a diduedd i bob peth, yr hyn oedd tuhwnt i'm dysgwyliad.

Dranoeth hebryngasant fi i Nauvoo; ac am 11 o'r gloch y dydd hwn, am y tro cyntaf, clywais y "Prophwyd" yn pregethu. Ni cheisiaf ddarlunio y teimladau a lanwent fy mynwes tra yn eistedd mewn cylch go nodedig yn y dorf, pa rai a ddysgwylient mewn dystawrwydd am ei ymddangosiad. Tra yr oedai (canys ni ddaeth yr amser etto), gorlenwid fy mynwes â'r chwedlau a glywswn am dano. Dysgwyliwn weled dyn rhyfedd ei olwg, ei ruddiau yn arddangos dwysder a thristwch, ynghyd ag yn arwyddo dialedd a gormes didaw.

Dysgwyliwn, mae'n wir, i weled ar ei wynebpryd y dwys ymchwiliad a'r neillduolrwydd, y golygon tanllyd a dirgelaidd, a ddynodai yr hen bropnwydi, yn ol fy nhyb i, ynghyd ag arddangosiadau yn ei olwg o'r euogrwydd cydwybodol, a'r cywilydd, yn ol a glywswn am dano, a ddylasai fod yn ei fynwes. O'r diwedd efe a ddaeth! Ond O, fe'm siomwyd yn ddirfawr! Yn lle penau a chyrn y bwystfil a'r gau brophwyd ar ei ysgwyddau, nid oedd ynddo i'w weled nemawr wahaniaeth i ryw ddyn arall, ond ei fod yn fwy o gorffolaeth na nemawr un o'r lleill. Wel, meddwn, er nad oes dim yn ei ymddangosiad i wrthryfela i'w erbyn, etto, pan ddechreua bregethu, profa ei hun yr oll a ddychymmygaswn. Sylwais yn fanwl arno, a dechreuodd bregethu, nid o "Lyfr Mormon," ond o'r Beibl, 1 Pedr, pen. 1. Dechreuodd yn araf, ac aeth yn mlaen yn bwyllog gyda'i bwnc, tra y dysgwyliwn innau bob mynyd ei glywed yn ymarllwys ei ddedfryd gondemniol ar bob enwad ond ei hunan, ac mewn ysbryd ymddialgar yn cyhoeddi "anathemau" ar bawb a'r nad oeddynt yn Formoniaid; ond yn ofer y dysgwyliais—gwrandewais mewn syndod, ac anesmwythwn yn fy lle. Nid allwn berswadio fy hun nad eithriad o'i ddull cyffredin oedd y bregeth hon, oherwydd fy mod i yno, rhag i mi feio arno; canys, yn lle crug o haeriadau anghysson, brawddegau darniog ac afreolaidd, ac ymosodiadau maleisus a chwerw ar ereill, neu wyrdroi yr ysgrythyrau yn ddirgelaidd a chyfrwys i ateb ei bwrpas ei hun, ac i wau rhwyd o dwyll resymiadau i dywyllu yr efengyl fel y dysgwyliaswn, ymlwybrai yn mlaen yn ddihoen a dirwystr drwy araeth addysgiadol, hyawdl, gynnwysfawr, a hirfaith, gyda medrusrwydd a doethineb annysgwyliadwy i mi, fel pe cydnabyddai bwysfawrogrwydd ei swydd, a'i ddyledswydd tuag at Dduw a dyn, yr hyn a'm hargyhoeddai ei fod yn teilyngu y cymmeriad o "iawn gyfranu gair y gwirionedd," ac yn ddiduedd yn cyfranu i sant a phechadur eu rhan mewn pryd. Aethym ymaith wedi'm gorfodi yn hollol i newid fy marn am dano ef o'i ben i'w draed, ac am ei grefydd a'i gymmeriad o ben bwy gilydd. Yn yr hwyr, cydunais â'i gais, a phregethais. Yr oedd y gwrandawwyr yn lliosog iawn, a'r gwrandawiad yn astud a boneddigaidd. Siomodd hyn fi fwy-fwy, canys ni ddysgwyliais eu bod yn caniatâu rhyddid crefyddol i ereill; ond deallais wed'yn fod cymm int o hyny yma ag yn un man, a'r gyfraith yn ei amddiffyn. Wedi i mi ddiweddu, cyfododd Mr. Smith, a gofynodd ganiatâd i wahaniaethu oddiwrthyf mewn rhai pynciau a nodaswn, yr hyn a wnaeth yn bwyllog, yn foneddig, a chariadus iawn, fel un a garai ddangos cyfeiliornad a gwirionedd yn eu lliwiau p iodol, yn hytrach nag ymfawrygu yn fuddugoliaethus mewn dadl. Derbyniais addysgiadau llesiol ganddo, ac yn gyferbyniol ditlanai fy rhagfarn yn erbyn y Mormoniaid. Gwahoddodd fi i dalu ymweliad ag ef, yr hyn a addewais wneyd.

"Boreu dranoeth aethym i waered i'r ddinas, a sylwn ar fy nheimladau yn cyfnewid yn rhyfedd, ac erbyn fy ngwaethaf braidd; neu, o'r hyn lleiaf, dattodai y naill rwymyn ar ol y llall yn ddiarwybod, a mynych y'm gorlenwid gan ddwysder; etto, nid allwn lai na dysgwyl y caffwn drwy y ddinas ffeithiau digonol i esgusodi i raddau mawr y darluniadau a glywswn ac a ddarllenaswn am anfoesoldeb y lle hwn, er na chredwn mai *sink hole* y wlad yw, nac mai gwehilion cymdeithas,

celwyddwyr, meddwon, lladron, a dyhirod, yw pawb a gyfaneddant ynddi, fel y dywedid. Ond wedi cael golwg iawn ar y ddinas drwyddi, fe'm siomwyd hyd y nod yn y dysgwyliad hwnw yn hollol. Yn lle ychydig o fwthynod ac aneddau bychain a gwael yr olwg arnynt, gwelwn, er fy llawenydd, un o'r trefydd mwyaf golygus, bywiog, a harddaf a welais yn y byd gorllewinol. Yr adeiladau oeddynt (neu y mwyrif o leiaf) yn fawrion a harddwych, ac yn fwy dymunol yr olwg nag a welir yn nemawr fan. Y gwastadtir eang a hyfryd odditan yr uwchdir a addurnir ag aneddau mor amrywiol a *romantic*, fel braidd y credwn mai drych oedd y cyfan ; ac yn lle fy mod yn Nauvoo Illinois yn mhlith Mormoniaid, mai yn ninas Leghorn yn Italy yr oeddwn, yr hon a efelycha y sefyllfan hon yn fawr. Syllais am fynyd gyda serchogrwydd ar y dyffryn isod. Yma a thraw ymddyrchafai ambell adeilad *bricks* ei ben goruwch y lleill mewn ymddangosiad mawreddig, fel yn gofadail o gywreinrwydd celfyddydol ei wneuthurwyr, ac o ddiwydrwydd ac astudrwydd anghydmharol y trigolion hyn, pa rai a'i dyrchafasant o grafangau clefydau a disymlrwydd, gan wneuthur o hono dan bob anfanteision, mewn dwy neu dair blynedd, un o'r dinasoedd gwychaf yn y gorllewin.

"Yn mhlith yr adeiladau gwych ereill a addurnent y bryn lle y safwn, gwelid y deml, yr hon a adeiledir o gerig naddedig, a'r hon sydd eisoes tua 18 troedfedd o uchder, ac yn tyfu yn gyflym. Bydd hon yn adeilad mawr, ac yn arddangos cywreinrwydd digyffelyb yn yr oes hon. Mae dros 120 o droedfeddi o hyd, yn agos i 100 o led, ac i fod yn 75 o uchder. Amgylchynir hi oddiallan â cholofnau cerfiedig, tuhwnt i waith y Corinthiaid; a'i mynedfa sydd ragorol.

"Ond draw gwelwn un gwrthddrych godidocach etto, ac yn harddu yr holl olygfa, sef y Mississippi fawreddig, yr hon yn ymchwydd ei thònau a gyflymai rhwng ei cheulanau creiglyd yn ei thro ar hyd glanau tair ochr i'r ddinas ddetholedig, gan ruthro ei ffordd tua'r môr, a chipio agerfadau mawrion fel plyfod yn ei chôl. Yr ochr hwnt i'r afon, ar fy nghyfer, gwelwn wlad hyfryd, a'i *phrairies* a'i llwyni mor amrywiol ag y gallai y meddwl ddymuno ; ac yma a thraw dai a thyddinod ar hyd-ddynt. [Yma darlunia yr hanesydd yr olygfa hardd hon mewn lliw a drychfeddyliau na feddwn le i'w cynnwys, pe meddem alluoedd i'w iawn gyfieithu.]

"Ymchwiliais drwy heolydd a gweithfäau y ddinas beth oedd yn myned yn y blaen. Ni welais braidd neb mor segur â fy hunan, ond pawb yn ddiwyd gyda rhyw alwedigaeth, a'r holl ddinas yn fywiog drwyddi. Yn ofer y chwiliais am arwyddion anfoesoldeb a drygioni, nes rhyfeddu wrth, a llawenhau yn, fy aflwyddiant. Ni welais segurwyr ar hyd yr heolydd, na meddwon oddeutu tafarndai, na'r cyffelyb arwyddion ar wynebau neb yma, ag a welir braidd yn mhob tref ag y mae gwirod i'w cael. Ni chlywais na llw, cablair, na rhegfeydd, drwy yr holl ddinas, ac ni welais ychwaith, er ceisio yn fanwl, yr un gwyneb trist yn y lle ; ond yr oedd pawb yn siriol, boneddigaidd, ac yn ddiwyd iawn.

"Ymddyddenais â'r mwyrif o flaenoriaid y lle, a chefais hwynt yn gymdeithasgar, gwybodus, llettygar, a boneddigaidd. Ni welais amgen nâ gweddeidd-dra drwyddynt oll. Pa le ynte, gofynwn, y mae yr

holl brofion o annuwioldeb Nauvoo? Pa le, yn enw gwirionedd, y mae yr anfoesoldeb a gyhoeddir yn erbyn ei thrigolion? Pa le mae y *gang* o'r *marauders*, y lladron ceffylau, y dyhirod, y llofruddion, a'r meddwon, a glywais oedd yn cartrefu yma? Pa le y mae y creulonriaid dialgar hyny a chwiliant am gyfle i dywallt gwaed? Pe le y mae y coelgrefyddau gwarthus i ddynoliaeth, enghreifftiau o hudoliaeth ac anwybodaeth! Pe le mae yr heresiau damniol, a'r athrawiaethau cythreuliaid, ag y clywais gymmaint mai dyma eu ffynnonell? Sicr ydwyf nad yn Nauvoo y ceir dim yn debyg. Diau i'w cyhoeddwyr gamgymmeryd y lle a'i enw, neu oll gyduno i ddyfeisio cynnifer o gelwyddau yn wirfoddol. Cywilyddiaf mewn siomedigaeth dros fy nghyfeillion a'm hysbysasant o'r holl anwireddau hyny, a phenderfynais, fel brenines y deau, na choeliwn gyhuddiadau gelyn am neb, yn enwedig yn erbyn y Mormoniaid, ond myned, fel yr aeth hithau, i chwilio drosof fy hun. Ac, anwyl ddarllenydd, dos dithau, a gwna yr un modd; a sicrhaf i ti, os clywaist y lle hwn yn cael ei ganmol, na fynegwyd i ti yr hanner o'i rinweddau a'i ragoroldeb.

"SAMUEL A. PRIOR."

Dyma'r fath dystiolaeth a ddyry llygad-dyst gonest a diduedd am Nauvoo, am Joseph Smith, a'i thrigolion ereill! Tystia fy llygaid a'm clustiau innau mai gwir yw yr uchod, canys yr oeddwn yno ar y pryd hyny; a chredaf mai cyffelyb y dywedai pob dyn geirwir am y peth. Ond O! beth a feddylir am gymmeriadau rhai ereill a aethant yno yn benderfynol i gamddarlunio y cyfan, oherwydd yr elyniaeth a'r anonestrwydd oedd ynddynt? Diau eu delir yn gyfrifol gan y gwirionedd am y dylanwad a greuasant i'w erbyn drwy hyny. Cyhoeddodd un o frodyr crefyddol y boneddig hwnw, o'r enw Turner, draethawd hirfaith cyn hyn, ac heb erioed ei ystyried yn werth ei sylw i ddod i ymchwilio fel hwn, er ei fod yn byw yn yr un dalaeth; ond cyhoeddi yr ystorïau a glywsai yntau, a'r adolygiadau arnynt, ynghyd â dyfyniadau o hanesion dynion anwireddus ereill, y rhai a wnaethent fel yntau, a'r cyfan mor hollol groes i'r hanes uchod, ac o ganlyniad i'r gwir, ag yw gwawl i gaddug. Etto i gyd, nid anfynych y dyfynir o'r traethawd hwnw yn y wlad hon, ar awdurdod ei awdwr "Parchedig" a llygredig. Gymmaint hawddach y credir celwyddau nâ'r gwir gan y cyfryw! Ond o bawb arall a gyhoeddasant draethodau yn erbyn Nauvoo a'r Mormoniaid, ni wyddom am yr un yn cynnwys cynnifer o gamddarluniadau gwirfoddol, o au-dystiolaethau dyfeisiol, ac o chwdiadau maleisus, anwireddus, a niweidiol, â'r tusw ffiaidd hwnw o eiddo yr anfoneddigaidd a'r anfarwol Casswell ddoeth, a *Cholledge bred* hwnw; ond yr hwn orchestwaith, er hyny, a ennillodd iddo deitl uwch yn rhestr y duwinyddion, â'r hon ei coronwyd ef yn fuan wed'yn yn *Chicago* yn y dalaeth hòno. A'r perl gwerthfawrocaf a ddygodd ef gydag ef o'r wlad bell hòno i'w wlad ei hun oedd, "*Caswell's Prophet of the* 19*th Century!*" Ond yr hynodrwydd mwyaf rhyngddo ef a phob llyfr arall yw, ei fod yn fwy amddifad o wirionedd, a rhesymeg deg, a defnyddioldeb, nag un a welsom erioed. Nid heb seiliau anwrthwynebol y meiddiwn gyhoeddi y ddedfryd hon arno ychwaith; ïe, dim llai na ffeithiau dirif braidd. Gwyddom fwy oddiar brofiad am y gwr hwn,

a'i ymweliad â Nauvoo, nag a feddwn le ac awydd i'w gyhoeddi yma; ond dyled i'r cyhoedd a'i llyncant mor wancus yw rhoddi iddynt y *few hints* hyn, hyd oni chaffom well cyfleusdra i fanylu. Ond i ddychwelyd.

Nid annifyr fydd y dystiolaeth a ganlyn am Nauvoo. Y ddiweddaf oedd eiddo "Parchedig," ond hon sydd eiddo dyn dibroffes, yr hon a gyhoeddwyd mewn newyddiadur o'r enw "*Boston Bee.*" Wedi ymhelaethu yn gydfynedol â'r uchod am sefyllfa, rhinweddau, a moesoldeb, Joseph Smith, Nauvoo, a'i thrigolion, &c., dyweda,—

"Er pan ysgrifenais o'r blaen, telais ymweliad â'r "Prophwyd Mormonaidd," a chanfyddais ynddo braidd bob peth ond y chwedlau a glywswn am dano. Mewn ymddyddan â duwinyddion a ammheuent ei hawl i'r teitl o brophwyd, dywedai, nad oedd efe yn hòni dim amgen o hawl i fod yn brophwyd nag yr oedd yn rhaid i bob dyn hòni a broffesai fod yn bregethwr cyfiawnder, neu yn weinidog y Testament Newydd. Cyn y dichon dyn fod yn weinidog i Iesu, rhaid iddo fod yn dyst i Iesu; ac er tystiolaethu i Iesu, anhebgorol yw meddu ysbryd y brophwydoliaeth, canys, ar eirwiredd Ioan (Dat 19), "Tystiolaeth yr Iesu yw ysbryd y brophwydoliaeth." Rhaid i'r hwn a broffesa fod yn weinidog i Iesu Grist feddu ysbryd y brophwydoliaeth, neu ynte addef ei hun yn au-dyst. oherwydd ei amddifadrwydd o'r ddawn anhebgorol er cyflawni ei swydd. A'r gwahaniaeth rhyngddo ef â duwinyddion yr oes (ebe efe) o barthed i hyn yw, ei fod ef yn proffesu ysbryd y brophwydoliaeth, yr hwn yn unig a ddichon ei addasu a'i allu-ogi i dystiolaethu am farwolaeth ac adgyfodiad Iesu Grist, ac am efengyl yr iachawdwriaeth; a'r *clergy* oll yn gwadu yr Ysbryd hwnw, heb ba un y mae yn anmhosibl i neb fod yn dystion cywir, neu destamentwyr dros Iesu Grist, ac etto ar yr un pryd proffesant eu bod yn weinidogion iachawdwriaeth! Yn hyn, (ebe efe,) yr ydwyf fi yn onest a chysson, a hwythau yn anonest, ac yn hollol anghysson. Yn awr, gwelwch y gwahaniaeth. Pe byddent hwy yn dystion cywir i Iesu Grist, cyfaddefent eu bod yn meddu ei dystiolaeth, fel y dywed Ioan fod gan bob un o weision Crist y "dystiolaeth ynddo ei hun," yr hyn yw yr Ysbryd hwnw ag sy'n dwyn adnabyddiaeth o Iesu Grist, ac o bethau mynedol a dyfodol, a'r hwn Ysbryd a'i gwna yn brophwyd o anghenrhaid. Dywedai nad oedd yn proffesu bod yn rhyw ddyn *rhyfeddol o ddaionus yn anad pawb arall*, ond yn rhwydd y cyfaddefai ei fod yn bechadur yn ogystal â phob dyn, sef yn anmherffaith, ac mai yn raddol y rhaid cynnyddu i berffeithrwydd gwr yn yr efengyl.

"Ni allaf lai na'ch hysbysu, er eich syndod efallai, ei fod ef yn gwisgo, siarad, bwyta, rhodio, ac ymddwyn, fel dynion ereill, a'r a welais i, ïe, mor debyg nes yr wyf bron credu mai dyn ydyw! er yn ddyn a gamddarluniwyd i mi fwy nâ neb arall erioed; ïe, yr oedd yn mhob peth yn hollol wahanol i'm dychymmygion am brophwyd.

"Nid ydynt wedi cwblhau eu teml fawr hyd yn hyn, ac ni feddant le cyfleus i addoli. Eu hapostolion a'u henuriaid a bregethant yn y tai ar y Sabbothau a nosweithiau ereill; a phan y caniatâ yr hin, pregetha y Prophwyd i dyrfa o ddeuddeg i bymtheg mil, mewn llwyn cyfleus gerllaw y deml. Un tro, clywais ef yn pregethu yma yn rha-

gorol ar y 'Mab Afradlon,' ac wedi hyny, 'pa fodd yr oedd Ioan yn fwy nâ'r prophwydi ereill,' &c. — *Bos on Bee.*"

Fel yn ngenau digon o dystion anmhleidiol y caffo y darllenydd y fantais i ffurfio barn gywir am Nauvoo a'i thrigolion, yn ngwyneb cynnifer a ddywedasant yn ddrwg am y lle a'r bobl nodedig hyn, ag sydd yn troi y byd o'r braidd y tu arall i fyny, rhoddwn ger ei fron yr hanes a ganlyn. Y mae hwn yn llygad-dyst etto, cofier, yr hwn a ddyfynwn o'r *Pelladium.*

"Gorwedda Nauvoo, dinas y Prophwyd, ar drwyn o dir hardd oddiaeth a ffurfir gan droad yr afon O eithafion y gwastadtir gwych, ar gyfer yr afon, dyrchafa y tir yn feinciau cysson o amryw droedfeddi, ac yna yn wastad-tir byrddiog. Ar yr olaf a'r uchaf godiad, yr hwn sy'n wastad â'r wlad i'r dwyrain, yr adeiladant eu teml, yr hon fydd yn adeilad harddwych a chostfawr. Cynnwysa gororau y ddinas chwech milltir o hyd, a thair, neu fwy, o led. Anmhosibl gweled golygfa harddach nag yw "Dinas y Saint." Cynnwysa dros ddeg mil o drigolion, heblaw sy'n y cylchoedd. Nid ymddengys nemawr o'r prophwyd yn ymddangosiad allanol "Joe." Y mae yn ddyn mawr a nerthol o gorffolaeth, ac ystyrir ef yn ddyn cymdeithasgar, siriol, tymherus, addfwyn, ac o gwbl yn ddyn go dda. Mae ganddo gïau o haiarn, llygad fel yr Argus, pen fel llusern, a chalon yn llawn o bob math o bethau. Mae yn gyfaill i bawb sy'n gyfaill iddo ei hun; ond druan o'i elyn ef. Llawer a ddywedwyd am y Mormoniaid, er hyny pobl ydynt hwythau fel ereill; a dyn yw eu prophwyd, nid annhebyg yr olwg i minnau. Nid oes dim yn eu crefydd yn anghredadwy, oddieithr ysbrydolrwydd eu Prophwyd, yr hyn a ganiateir i mi ammau. Y gwahaniaeth mwyaf rhyngddynt a'r Methodistiaid yw, fod ganddynt fwy o'r Ysbryd nâ dilynwyr Wesley. Pan y gwaedda y Methodist 'hosanna,' prophwyda y Mormon; a phan waedda y cyntaf, 'gogoniant,' gwna yr olaf lefaru â thafodau dyeithr. Pan y gweddia y naill dros frawd, eneinia y llall ef ag olew, ac arddoda ei ddwylaw ar ei ben, ac iachâ ef—*os gall!* Pan ddiffygia ffydd y sectariad fel na all gredu rhyw gyfran o'r ysgrythyr, galw ei beiriant deongliadol neu esboniadol i'w gynnorthwy a wna, ond y Mormoniad a'i llwnc i lawr yn gyfan fel y mae, yn debyg fel y llyncodd y morfil Jonah, ei het a'i fotasau. Addola y cyntaf Dduw "heb gorff, heb ranau, heb nwydau," pan addola yr olaf y Duw hwnw a welodd Moses, a'r deg henuriad a thringain, yr hwn a giniawodd gydag Abraham yn Mamre, ac a ymdrechodd â Jacob, sef yr hwn y desgrifia y Bibl ei nwydau yn ddig beunydd wrth yr annuwiol. Cryn wahaniaeth hefyd; ond y mae y Mormoniad yn barod pan fynoch i roddi ateb am yr hyn a greda, pan na ddichon y llall ddesgrifio i chwi beth yw gwrthddrych ei addoliad. Tebygol eich bod wedi clywed llawer am dueddiadau lladronaidd y Mormoniaid. Diammau y lladrateir llawer ar eu cost hwynt, pan nad hwynt, ond eu cyhuddwyr, yw yr enogion. Fe'u cyhuddir yn y byd hwn o lawer o ddrygau na chofrestrir i'w herbyn yn y nesaf yn ddiau. Mae fy mhapyr bron darfod, a rhaid i mi dynu'm cyrn i mewn, onidê gallaswn amlygu i chwi lawer ychwaneg o rinweddau a chamgyhuddiadau y lle a'r bobl ddiwyd a selog hyn."

Oddiwrth yr hanesion hyn, nid pobl mor "satanaidd" â'u cyhuddwyr yw y Saint, aiê? A pha le y ceir, er chwilio, ddesgrifiad mwy cywir nâ hyn? Crefwn oddefiad i ychwanegu un dystiolaeth etto o eiddo Sais, a hwnw yn anmhleidiol cofier. Nid ein dyben wrth ymhelaethu ar hyn yw pleidio y gwir yn unig, a golchi ymaith yr ystaeniadau a roddodd eu gelynion ar gymmeriadau y Saint, ond hefyd i'r neb a ystyria ac a esyd y peth at ei galon erbyn yr amser a'r erlidigaethau a ddêl, cynnorthwya esiamplau fel hyn i garwyr y gwir farnu yr ysbrydion, a deall eu dichellion, fel na chydymffurfiont â hwynt i dywallt gwaed gwirion drwy sêl heb wybodaeth, ac edifarhau pan wedi cyflawni mesur eu hanwiredd.

"Clywais lawer o son (ebe yr hanesydd), pan yn ngwlad fy ngenedigaeth, am y bobl a elwir Mormoniaid. Clywswn rai o'u cenadau yn pregethu yn Lloegr; ac er yr ystyriwn eu bod yn dysgu rhyw bethau newydd a rhyfedd, etto, penderfynais roddi iddynt hwy yr un degwch ag i bawb arall; ac mai y ffordd oreu i hyny fyddai ymweled a'u dinas, ymddyddan â hwynt, ac ymchwilio â thystiolaethau eu gelynion. Cyn hyn buaswn mewn undeb â'r eglwys Wesleyaidd, a deallais fod yn eu mynwesau ragfarn nid bychan yn erbyn y bobl hyn; felly ni allwn ymddiried i'r oll a ddywedent hwy am danynt; ac o'r ochr arall, anhawdd genyf gredu yr oll o'r eiddynt hwythau. Gan ofni fod peth twyll-ymddangosiadau yn eu plith yn Lloegr, yr hyn a ddanghosai ei hun yn amlycach yn eu dinas, ac yn eu plith eu hunain, penderfynais mynu gweled i'm boddlonrwydd, boed y gost a'r drafferth a fyddo; ac yn ganlynol cymmerais long (er fod fy nghyfeillion yn eu gofal mawr droswyf, yn ceisio fy mherswadio i beidio rhag ofn y byddwn yn ganlynwr i Joe, fel y dywedent), a thiriais yn ddiogel yn *New Orleans;* a chan fy mod am ddechreu fy amcan yn iawn, ac wedi clywed cryn lawer am erlidigaeth Missouri, ymholais am, a chefais agerfâd yn myned i St. Louis, yn y dalaeth hóno, a'r ffynnonell lle y dysgwyliwn glywed y cyhuddiadau gwaethaf yn erbyn y Mormoniaid. A'r cwestiwn cyntaf braidd a ofynais wedi cael anneddle cysurus oedd, Beth yw eich barn chwi am y Mormoniaid? Ar hyn gorlifwyd fy nglustiau o bob tu gan fawr a bach, gwryw a benyw, â'r fath gyhuddiadau a'r na chlywais o'r blaen am neb! Y Mormoniaid! meddent, y twyllwyr lladronaidd, y cablwyr, y dynion cythreulig hyny! haeddent eu llosgi bob un, ebe ereill, gyda llwon arswydus, a rhy ddrwg fyddai adrodd y cymmeriad a roddid iddynt. Sicrhaent eu bod hwy yn gwybod mai dynion o'r rhyw waethaf yn y byd oeddynt. Dywedent fod godineb nid yn oddefol yn unig, ond yn gymmeradwyol yn eu plith; yr yspeilient bawb a allent, a bod gwaed a llofruddiaeth i'w gael yn eu godrau. Ac wedi yspeilio y teithiwr dyeithr a fyddai mor anffortunus â digwydd i'w plith o'r oll a feddai, y taflent ef i ddaeardy tywyll o dan y deml, lle ei porthid â bara a dwfr, hyd oni therfynai angau ei ddioddefiadau,—y caffai farw yn unig a dirgel yno, ac na chaniateid hyd y nod i gyfaill ei ddylyn i'w feddrod, ond byddai farw fel ci, ac fel y cyfryw ei cleddid; ond gormod gwaith fyddai adrodd yr hanner a glywais, ac efallai yr ystyria rhai fod hyn yn ddigon i'm rhwystro yn fy amcan, ond hollol groes i hyny a fu. Er na amheuwn eirwiredd na phosiblrwydd y cyhuddiadau hyny, etto penderfynwn, os

profid hwy yn wir, i werthu fy mywyd mor ddrud âg y gallwn. Tiriais yn Nauvoo ar foreu hyfryd o'r hâf, ac arswydais i raddau pan sengais fy nhroed ar ei glan! Canfyddais nifer o wyr arfog yn dyfod i'm cyfarfod; ond ditlanodd fy ofnau pryd y deallais mai cwmni o wyr ieuanc yn myned i hela o ran difyrwch oeddynt. Ymwrolais i fyned yn mlaen, a theimlwn yn fwy cartrefol fel y cwrddwn âg ambell Sais adnabyddus i mi yn Lloegr. Cyflymais fy nghamrau tua'r deml, ac wedi syllu a threiddio yn fanwl i bob rhan o honi, boddlonwyd fi yn llwyr nad oedd perygl fy ngharcharu yno o leiaf, am nad oedd yno y fath le na dim yn debyg, ac anwiredd oedd y cyhuddiad erchyll hwn bob gair, yr hyn a'm calonogodd i ymchwilio i seiliau y lleill. Cefais letya ar gyfer y deml, fel y dewiswn, er cael cyfleusdra i sylwi ar bob peth a elai yn mlaen yno; ac ymwrolais i gael y gwirionedd yn ddiduedd o lygad y ffynnon, fel y gwybyddwn beth a anfonwn i'm gwlad fy hun yn ol o barthed i'r lle a'r bobl hyn.

"Mae cyffiniau y ddinas yn bur eang, a'i rheoleiddiad ar gynllun bardd iawn. Mae yr heolydd yn llydain ac uniawn, yn croesi eu gilydd yn ysgwâr, yr hyn a gynnydda ei harddwch pan ei gorphenir. Ar y tir uchaf yn y cylchoedd hyn mae y deml, rhyfeddod y byd: odditanodd hyd at yr afon gwelir siopau, palasau, a phob math o dai braidd, yn achosi golygfa ogoneddus. Heibio y ddinas cyflyma y Mississippi ei hun, ar hyd yr hon y cluda yr agerfadau Formoniaid o bedwar cwr o'r byd i'w cartref hwn, fel colomenod i'w ffenestri. Mynych y gwelais hwynt yn tirio yma, a phrofai y croesawiad a gaffent fod yr un ysbryd yn teyrnasu, a'r unrhyw gariad yn cylymu eu calonau, er yn ddyeithr i'w gilydd, gyda chylymau anhawdd eu tòri a mwy anhawdd eu dattod. Clywais aml un yn dywedyd,—O mor ddedwydd yw cael byw yma; dedwydd fyddai marw, a dedwyddach fyddai cael adgyfodiad yn y fan hyfryd hwn. Cynnwysa hyn eu hapusrwydd hwynt; yna, paham na chaniateir i hyd y nod y Mormoniaid fwynhau gwrthrychau eu serch yn heddychlon pan y dymunant fod yn heddychol â phob dyn byw? Ymddengys y trigolion yn hynod o ddiwyd a phenderfynol; maent yn prysur adeiladu *manufactories* yma. Maent wedi agoryd ffermydd mawrion a hardd ar y *prairies* oddeutu y ddinas, ac yn cynnyrchu cnydau toreithiog o wenith, ŷd yr India, ceirch, pytatws, llîn, &c., a'r oll mewn llai na phedair blynedd; ni wn pwy bobl ereill a allai wneyd y fath orchestwaith! Gwelir yma eisoes y rhai a diriasant yn ddiweddar wedi adeiladu tai gwychion yn y ddinas; ereill ar eu tyddynod yn y cylchoedd; ïe, y bobl hyny na feddiannasent dy byth, pe yr arosasent lle yr oeddynt, ydynt yn *freeholders* yma yn fuan, lle y gallant hwy a'u plant fwynhau llawnder, os paid cynddaredd diderfyn y Missouriaid â berwi dros ei geulanau etto. Triga Joseph Smith yn y "*Mansion house*," lle a ddarparwyd i groesawu dyeithriaid, ac oddiar brofiad barnaf y teilynga y cymmeriad hwnw. Mae y prophwyd yn gwmniaeth siriol, difyrus, a chymdeithasgar, ac yn deall rhywbeth o barthed i braidd bob peth yn y byd hwn, ac fel pe bai ei gartrefle wedi bod yn y llall. Credaf y medda ewyllysgarwch ac ymddiried yr holl bobl braidd; ac y mae ei ddiwydrwydd i'w llesoli, a'i ymlyniad wrthynt dan bob erlidigaethau, a thrwy megys afonydd o waed gwirion am flynyddau meithion, wedi ei deilyngu iddo.

Gwelais y prophwyd, a'i frawd Hyrum, yn sefyll ochr yn ochr ryw ddydd; ac ni allwn lai na chyfaddef mai dyna ddau o ddynion harddaf, doethaf, a duwiolaf yr oes, a mawrion y bedwaredd ganrif ar bymtheg. Buom yn eu haddoliadau ar y Suliau, ac ni welais wrandawiad mwy astud, nac ymddangosiadau mwy trefnus a boneddigaidd yn un lle. Mae'n wir fod rhai pethau yn nysgeidiaeth y prophwyd yn anhawdd i mi eu deall na'u barnu, etto profa efe hwynt oll yn ysgrythyrol yn ddigon dihoen.

"Ni welais amgen nâ heddwch, undeb, a chariad, yn teyrnasu yn y ddinas ieuanc, ond dedwydd hon. Ni welir yma feddwon yn ymlwybro ar hyd heolydd hon fel braidd bob tref arall; ac ni chlywir na llwon, rhegfeydd, nac unrhyw gableddau, yn adleisio drwy'r awyrgylch hyfryd hwn; ond pan y clywir dwndwr a darogan am "ryfel Mormonaidd," "terfysg yn ninas y Saint," a son fod pob math o derfysg yma, pe eredid chwedlau eu gelynion yn mhell, yma teyrnasa heddwch a dedwyddwch yn llon.

"O barthed i'r erlidigaeth Fissouraidd, ni chefais hyd yn hyn un sail i feddwl fod y Mormoniaid wedi haeddu dim o hono. O'r ochr arall, credaf yn ddiysgog ddarfod i'r Missouriaid ferthyru llawer o ddynion dieuog, lladd a threisio gwragedd diamddiffyn, a phlant amddifaid, yn ddiachos, ac mewn gwaed oer! Ac oddiar y tystiolaethau a ddaeth dan fy sylw, nid yn unig o eiddo y Mormoniaid, ond y Missouriaid hefyd wyneb yn wyneb, ymddengys yn eglur i mi ddarfod iddynt wneuthur hyn oll oddiar elyniaeth a chenfigen grefyddol yn unig, er, dan esgusion ereill wrth gwrs; ond pa rai a fethasant erioed brofi yn wir hyd heddyw. Ac etto sycheda y bobl hyny yn awr ac eilwaith, yn enwedig o flaen etholiad gwladol, am ychwaneg o waed y Saint! Beiant dalaeth Illinois am oddef i'r Mormoniaid drigo o fewn eu cyffiniau! Ond gofynwn, pa fai sydd yn hyny? Mae y bobl hyn yn addurn ac yn llesiol i'r dalaeth lle y maent! Tystia eu diwydrwydd a'u llwyddiant anghydmarol yn Nauvoo, mewn cyn lleied o amser, hyny; ac, ond iddynt gael llonyddwch am gyhyd o amser etto ni raid wrth ysbryd prophwydoliaeth i ragweled y rhagora eu dinas ar bob un yn y byd gorllewinol. I weled y prophwyd, y deml, &c., mae sugndod pobloedd o deyrnasoedd y byd, pa rai a ddygant fwy neu lai o gyfoeth gyda hwynt. Ac, chwi drigolion Illinois, byddwch gall i chwi eich hunain, a gadewch lonydd i'r Mormoniaid bellach; estynwch iddynt nodded yn y mwynhad o freintiau ac iawnderau, fel eich deiliaid ereill, a buan y cynnyddant yn bobl rymus a nerthol i'ch llesoli a'ch gwneyd yn wynfydedig; a cheir y llywydd dyngarol a'u llochesodd rhag cynddaredd eu herlidwyr creulon, mewn coffadwriaeth dragywyddol, ei enw a anrhydeddir gan y cenedlaethau dyfodol."—"*Times and Seasons.*"

Weithian galluogir y darllenydd i ffurfio barn iddo ei hun am y Joseph Smith hwnw ag y dywedir gymmaint i'w erbyn. Yma gwelir ei rinweddau, ei addfwynder, a'i ddiwydrwydd mawr i ddedwyddoli ei gyd-ddynion, yn dymmorol ac yn ysbrydol. Dyma oedd ei brif ddyben a'i awydd, a hyny a wnaeth yn fwy na neb arall yn ei ddydd, ac o dan fwy o erlidigaethau a cholledion iddo ei hun, a mwy o rwystrau na neb a adwaenom. Yn y drych uchod gwelir hefyd y fath bobl oedd

Saint Nauvoo; ac O, mor hollol groes i ddarluniadau eiddigeddus eu gelynion!

Rhy faith fyddai yma ddesgrifio yr erlidigaethau a'r *warants* a ddygwyd yn erbyn Joseph Smith gan dalaeth Missouri, a phob rhai ereill a allent gael yn offerynau yn eu dwylaw i ddwyn camgyhuddiadau i'w erbyn; canys, er mor lliosog oeddynt, profodd Joseph Smith ei hun o flaen brawdlysoedd y wlad yn hollol ddieuog o'r cyfan, er nad heb lawer o gost a dioddefiadau.

---

## PENNOD XXI.

### HANES JOHN C. BENNETT.

Fel i blith pob plaid arall, deuai dynion rhagrithiol gyda gau ddybenion i Nauvoo; ac er ennill ymddiried, a chyrhaedd eu hamcanion annuwiol, ymunent â'r eglwys weithiau. Y rhai hyn, pan ogrynid hwy drwy ogr mân-ddyscyblaeth, a chael eu chwythu ymaith gyda'r us, a gydunent â'r Missouriaid a'r Warsawiaid, &c., i ymddial ar y Saint yn mhob dull a allent. Yr oedd buchedd, bywyd, ac awyddfryd calon Joseph Smith drwyddo oll yn rhy dduwiolfrydig i oddef neb o'r cyfryw yn eu plith, os na ellid eu hadferyd i ffordd cyfiawnder. Yn mhlith ereill o'r cyfryw, nodwn, er enghraifft. am un John C. Bennett, yr hwn ni fu yn eu plith nemawr dros flwyddyn; a thrwy ei hyawdledd a'i ffug-rinwedd. dringodd yn mlaen i gael cryn ddylanwad a swydd uchel yn y ddinas, hyd nes y daethant i ddeall ei ddrygioni dirgelaidd ef. Yna rhybuddiwyd ef dro ar ol tro i adael ei ffyrdd drygionus; ac o'r diwedd, wedi i bob cynghorion a rhybuddion fethu, ysgymunwyd ef. Pan ddeallodd fod ei aflendid ar gael ei amlygu i'r byd, cymmerodd wenwyn i'r dyben i'w ladd ei hun, ond ni chafodd yr effaith. Wedi hyny aeth i blith gelynion y Saint, a ffurfiodd bartneriaeth â'r Missouriaid i ymddial ar Joseph Smith, ond methodd lwyddo yn hyn; yna cyhoeddodd draethawd yn proffesu amlygu "twyll Joe Smith, &c.," yr hwn draethawd oedd yn warthus i'w ddarllen. Yndd0 y cyhuddai ereill o bob peth bron ag y bu efe ei hun yn euog o honynt. Ymroddodd i werthu hwn, ac i ddarlithio yn erbyn y Saint am yspaid, gan dramwy o dalaeth bwy gilydd, a phroffesai ei fod wedi gadael y Mormoniaid oherwydd eu drygioni, a'i fod o gydwybod yn gwasanaethu ei wlad drwy ei amlygu i ereill, &c. Dyfynid o'i lyfryn a'i ddarlithoedd yn helaeth i newyddiaduron, pa rai weithiau a ddarllenid gan y "Peirch." o'r pwlpudau am wirionedd! Ac ai rhyfedd ddarfod i'w hudolion ffurfio eu barn am, ac ymddwyn yn gyferbyniol at, Joseph Smith a'i grefydd? Onid canlyniad naturiol yw hyny? Yna gwelir pwy sydd gyfrifol am y canlyniadau o'r fath ymddygiad, yr hyn sydd yn arwain i dywallt gwaed gwirion. Wedi i'r ail feddwl gael ei effaith priodol, gwrthweithiodd y cyfan yn erbyn y darlithiwr, nes y mynych erlidid ef o dref bwy gilydd gan y gwerinos a'i gwrandawai; a chan luchio wyau drewedig, &c., ar ei ol, erlidiwyd ef yn ol i'r gorllewin mewn anfri mawr. Wedi hyn ymgyflogodd yn was i Olygydd newyddiadur o'r enw *Sangamon Journal*, i'r dyben pwrpasol i'r Golygydd gelyniaethus hwnw lanw ei golofnau â chamgyhuddiadau

yn erbyn y Saint; canys gelyn proffesedig oedd efe oherwydd ei lyw-od-ddysg. Wedi i hwnw gael allan yr oll a allai o Bennett, tröodd ef ymaith; a'r hanes diweddaf a glywsom am dano oedd, ei fod yn grwydryn gwrthodedig, yn gyflawniad cywir o'r brophwydoliaeth am dano; ac felly yr aeth, ac yr aiff, pob braich o gnawd a ddyrchefir yn erbyn y gwaith dwyfol hwn.

Ni buaswn yn ystyried hanes y gwr hwn yn deilwng o le yn ein colofnau, oddieithr fod awduron, hyd y nod yn Nghymru, wedi cy-hoeddi ei ystorïau, yn enwedig y *Seren Gomer*, yr hon a lanwodd am-ryw o'i cholofnau o ystorïau anwireddus y gwr hwn, yn darlunio cym-meriad Joseph Smith yn anllad a drygionus yn anad pawb. Ymwel-som â'r Golygydd hwnw, a dangosasom iddo pwy, a pha fath ddyn, oedd ei awdwr, sef y Bennett hwn. Clark, &c., a'r cam mawr a wnaeth yntau â darllenwyr y *Seren*, drwy gyhoeddi y fath bethau. Addawodd gyhoeddi yr amddiffyniad os ysgrifenwn wrthbrofion i'r ystorïau hyny, yr hyn a wnaethum mor gynnwysfawr ag y gellid. Yn mhlith tyst-iolaethau ereill a roddwyd ar lw, cyfieithais ac anfonais iddo yr hyn a ganlyn o eiddo y Bennett hwnw ei hun. Cyfaddefodd y *Seren* iddi ei dderbyn; ac yn lle ei gyhoeddi fel dyn gonest, cyhuddai fi ar yr amlen o flaen y wlad o fod yn euog o geisio ganddo gyhoeddi "cabl-draeth!" Ac felly, nid yn unig efe a wnaeth y drwg yn waeth, a dang-osodd ei awydd i bawb gredu yr ystorïau drwg ereill am J. Smith, ond dygodd gyhuddiad gwarthus yn erbyn arall yn hollol ddiachos, ond yn unig oherwydd y meiddiai amddiffyn y gwirionedd a'r dieuog; a gwnai hyn mewn dull na allai y wlad farnu ai felly yr oedd ai nage; ond diolch am ryddid y wasg, canys daw â'r gwir i'r goleu serch dy-noethi eu dichellion bradwrus hwynt yn erbyn dynion duwiol a da. Wele gopi o'r ysgrif ag y cyhoeddodd efe ei bod yn gabldraeth! Ac os dichon rhyw un ddangos rhywbeth yn gabldraethus yn ei gyhoeddi, onid Bennett sy'n euog o'r cabldraeth arno ei hun? Sylwer fod y dystiolaeth hon wedi ei rhoddi ar ol i J. C. Bennett gael ei ysgymuno o'r eglwys, ac ar yr achlysur o fod Bennett wedi arferyd enw Joseph Smith i gyfiawnhau ei odineb a'i ffieidd-dra ei hun.

"TALAETH ILLINOIS, DINAS NAUVOO.

"Ymddangosodd o'm blaen i, Daniel H. Wells, ustus heddwch yn y ddinas uchod, John C. Bennett, ac a dystia ar lw yn ol cyfraith y wlad, na ddysgwyd ef mewn dim yn groes i egwyddorion manylaf yr efengyl, diweirdeb, na chyfreithiau Duw na dynion mewn un dull, na than unrhyw amgylchiad, gan Joseph Smith, ac na ddeallodd ddarfod i Joseph Smith erioed, drwy air nac esiampl, ddysgu na chymmerad-wyo un ymddygiad annuwiol. Tystiaf hefyd na ddysgodd fi erioed fod anlladrwydd, na godineb, nac unrhyw gymdeithas â benywod, yn gyfreithlon nac yn oddefol; ac ni chlywais ef erioed yn dysgu hyny i ereill.

"JOHN C. BENNETT.

"Ardystiwyd ar lw o'm blaen i, yr 17eg o Fis Mai, 1842,

"DANIEL H. WELLS."

Y mae hyn yn ddigon i wrthbrofi holl gamgyhuddiadau y dyn hwn yn erbyn Joseph Smith *wedi hyny*, gan na welodd ef byth wed'yn. Cofier hefyd mai ar ol y pryd hyn y cyhoeddodd yr oll a wnaeth. Ond i ddychwelyd at hanes Nauvoo.

Yr oedd pob peth yn myned yn mlaen ar gynnydd cyflym yma er y cwbl, a lluoedd o Saint yn ymgasglu yno o'r taleithiau ereill, o Frydain, a pharthau ereill o'r byd; a llwyddiant anarferol ar yr efengyl yn mhob man. Etto, nid anfynych y cyfodid terfysg yn erbyn Joseph Smith, ar ryw gamgyhuddiadau, a'r mwyaf niweidiol a chreulon oedd yr hyn wedi hyny a gynnyddodd nes lladd Joseph Smith, a'i frawd Hyrum, yn ngharchar Carthage, yr hyn a gymmerodd le fel y canlyn; a goddefer i ni fanylu gyda'r hanes yn ol a welsom â'n llygaid er ein galar; canys mae mawredd y person nodedig, mawredd ac iawn ddeallwriaeth am y grefydd ag y dyoddefodd gymmaint o'i herwydd am dros bymtheg mlynedd, a geirwiredd pa un a seliodd â'i waed, ynghyd â bod cymmaint o gamddarluniadau o'r naill a'r llall, oll yn teilyngu manylrwydd ar y mater hwn.

---

## PENNOD XXI.

### MERTHYRDOD JOSEPH SMITH A'I FRAWD HYRUM!

Yr oedd rhyw *glan* o ddyhyrod rhagrithiol yn Nauvoo a gyhuddid o ladradau, gwneyd arian drwg, a'r cyffelyb; ond methwyd cael profion o'u heuogrwydd am yspaid, yr hyn a achosodd i Joseph Smith gyhoeddi y rhoddai yn wobr bum cant o *ddollars* i'r neb a ddygai brofion digonol i'w herbyn i'w alluogi ef i roddi diwedd ar eu drygioni. Yr oedd rhai o honynt yn yr eglwys mewn enw; a chafwyd tystion digonol i ysgymuno wyth neu ddeg o'r rhai a dybid yn euog. Parodd diwydrwydd a phenderfyniad Joseph Smith i garthu y ddinas yn lân oddiwrth y fath ddyhyrod i'w hanathemau ymarllwys ar ei ben ef. Aml yr ymosodent arno yn greulon, ac y bygythient ei fywyd, fel y gorfu iddo gael gwyliadwriaeth o amgylch ei dy yn y nos. Yn mis Ebrill, 1844, crynhöodd amryw o'r dialwyr hyn at dy Joseph Smith, a chlywais hwynt yn ei gymenu a'i ddifenwi yn greulon ac afresymol iawn gyda bygythiadau llym, ar yr addefiad mai yn unig oherwydd ei wrthwynebiad iddynt, a'i ysgymundod o honynt. Er y cyfan, ni fygythiodd yn ol, ond ymresymai yn dirion i'w herbyn, gan eu hannog i adael eu ffyrdd drygionus.

Yn mhen ychydig ddyddiau wed'yn, dygwyd cyhuddiad yn erbyn un o'u plaid, o'r enw A. Spencer, gan ei frawd naturiol, o fod yn euog o greulondeb at ei fam oedranus, a'i theulu diamddiffyn. Amddiffynodd ei blaid ef yn erbyn y swyddogion gwladol, rhag dyfod i arholiad, nes eu gorchfygu, a'i ddwyn ganddynt i'r *Court House*. Yr oedd Joseph Smith yno; ac un o'r blaid, o'r enw Foster, a ruthrodd ato drwy'r dorf gyda llaw-ddryll llwythog; a phan oedd o fewn troedfedd i'w fynwes, ac ar saethu, yr achubodd J. Smith ei fywyd drwy grafangu y llaw-ddryll, a'i ddwyn oddiarno; ereill a fygythiasant ei saethu; ac yr oedd cenfigen y rhai hyn gymmaint i'w erbyn y pryd hyn, fel y lluchiasant gerig at ei ben yn y dyrfa! Er hyn ni ddialodd

ond dirwywyd yr euog am y trosedd ei cyhuddid, a chaniatawyd i rai o'i blaid ei feichafu. Wedi hyny cynnyddodd malais y blaid hon yn waeth-waeth, ac yn fuan prynasant argraffwasg, ac a'i gosodasant mewn gweithrediad yn Nauvoo, dan y broffes gyhoeddus mai dial ar Joseph Smith a'r trigolion ereill ag oeddynt yn ysglyfaeth i'w cenfigen, oedd eu dyben. Gwyddent cyn hyn drwy brofiad pa faint oedd dylanwad yr argraffwasg i godi erlidigaeth yn erbyn y Saint; a dyma y dull y dysgwylient iddo lwyddo i gyffroi y werin yn mhell i ddyfod yn derfysglu i ymddial ar Nauvoo. Cyhoeddasant newyddiadur o'r enw *Nauvoo Expositor*, yr hwn a berchenogid ac a olygid gan y blaid hon yn unig; a'r hwn a gynnwysai yr ystoriau mwyaf gwarthus, a'r cahldraethau mwy cywilyddus a niweidiol ag a allent ddychymmygu, nid ar Joseph Smith yn unig, ond hefyd ar amryw o drigolion a marsiandwyr enwocaf y ddinas, gwyr a gwragedd. Cafwyd dedfryd i'w herbyn, a dirwy mawr o iawn, ger cyfraith y wlad; ond nid oedd hyny yn tycio dim, oherwydd yr oeddynt wedi rhagflaenu hyny drwy gyflwyno eu heiddo o'u dwylaw, fel na chaffid gafael ynddynt. O'r diwedd, cymmerodd llys y ddinas y peth dan eu sylw; ac ar ol arholiad manwl a threiddgar i gyfreithiau y wlad i ddeall beth a wnelent â'r argraffwasg, deallwyd yn gyntaf gan gyfreithwyr o fanau ereill fod y fraint-ysgrif a ganiataodd y dalaeth yn cyflwyno hawl i'r *City Council* (yr hwn a gynnwysa ddeuddeg o foneddigion parchus y ddinas; nid Saint nemawr o honynt) i benderfynu beth a fyddai yn *nuisance*, a pha fodd yr ymddygid at y cyfryw. Yn ganlynol i hyny, rhoddodd Maer y ddinas orchymyn i'r prif Sirydd, yr hwn a gymmerodd oddeutu deugain o'r *police*, ac a ddygasant yr argraffwasg o'r adeilad i'r heol, ac a'i torasant yn ddarnau. Y nos hòno cafwyd ddarfod i rai o'r blaid fyned ymaith drwy'r wlad, a chymmeryd yr achlysur hwn i ddweyd "fod Joseph Smith yn gwrthwynebu rhyddid y wasg," yr hyn a ystyrir yn drosedd mawr yn y wlad hòno. Dywedasant hefyd fod eu swyddfa a'r cyfan wedi eu llosgi gan y Mormoniaid, gan annog pawb i ymuno â hwynt i ymddial. Daliwyd hwy yn eu dichell y nos hòno, sef y rhai o'r blaid a adawsid yno i'r dyben, yn ceisio tanio yr adeilad eu hunain, er cynnyddu eu trosedd; a daeth eu twyll i'r amlwg drwy i'r *police* ganfod y tân mewn pryd, a'i ddiffoddi cyn llwyddo i losgi y swyddfa: a'r lleill, gan gymmeryd llwyddiant eu partneriaid hyn yn ganiataol, a'i prophwydasant am wirionedd. Ar hyn ymadawodd y blaid ddrwg hon o'r ddinas, ac ymroisant i gynhyrfu y wlad, y rhai ni wyddent well, a llawer o ba rai ni fynent wybod. Cawsant warant gan un Smith, ynad o Carthage, yn erbyn Joseph Smith, ei frawd, a'r holl *City Council*, yn eu gwysio o'i flaen ef, i amddiffyn eu hunain yn ngwyneb y cyhuddiad o ddystrywio yr argraffwasg. Yn y cyfamser hysbyswyd Joseph Smith fod brâd wedi ei llunio i'w gael ef i Carthage, ac na chaffai ddod oddiyno yn fyw, ac mai drwy y cyfryw warant y dygent ef yno, ac nad oedd gwysiad y personau ereill ond ffug, er hwyluso i'w gael ef yno; a dywedai y tyst mai yr ustus hwnw ag oedd wedi llaw-arwyddo y warant oedd i eistedd yn farnwr, a'i fod yn un o'r rhai blaenaf yn y frâd gyda pherchenogion y wasg. Wedi i'r dyn dystio hyn ar lw, ysgrifenwyd ei dystiolaeth i lawr, ac anfonodd Joseph Smith hi gyda chenadon at lywydd y dalaeth (yr hwn oedd yn byw yn

Springfield, dros dri chant o filltiroedd o Nauvoo), gan ofyn ei nodded, ac arholiad cyfiawn. Yn fuan wedi hyn daeth *sheriff* y swydd o Carthage, a'r warant gydag ef, ac yr oeddynt yn sefyll yn ochr Joseph Smith pan y daeth ac y demandiodd ef yn ddioed i Carthage! Darllenodd Joseph Smith, yn y warant, y rhyddid a ganiateir i bob dyn, sef "i ymddangos gerbron yr ustus a'i rhoddodd, *neu y nesaf ato;*" oed gommeddwyd y rhyddid hwn i Joseph Smith. Ar hyn hysbysodd J. Smith y *sheriff*, ei fod yn foddlon i fyned gydag ef at ryw ynad arall. "Na," ebe yntau, gyda llw ysgeler, "rhaid i chwi ddyfod i Carthage yn ddioed, ac ni chewch fyned i un man arall." Profodd hyn y gwir o'r fràd, a gwrthododd Joseph Smith fyned i Carthage, fel y cyfarwyddai deddfau hunan ddiffyniad ef a phob dyn arall i beidio myned i gigyddfa nes bo raid. Ar hyn, gwysiodd y *sheriff* ef a'r llall o flaen yr ynad Wells, lle, wedi arholiad, y profwyd hwy yn ddieuog. Dychwelodd y *sheriff* yn ol, a dywedodd fod Joseph Smith wedi gwrthod ufyddhau i gyfraith y wlad, yr hyn oedd yn destun melys a defnyddiol iddynt hwy anfon cenadau drwy y wlad yn enw y *sheriff* i orfodi y nifer a ddewisent i ymgasglu yn *Bosee Committatus* i'w gynnorthwyo ef i gyflawni ei swydd, a dwyn Joseph Smith i Carthage; a mawr y cynhwrf a wnaethant drwy'r wlad. Ymffrostiai dialwyr y Saint eu bod wedi eu gwisgo ag awdurdod wladol, a chan ddefnyddio pob dichell, ynghyd a ffugio enw cadbeniaid y *militia*, ac hyd y nod enw llywydd y dalaeth; hefyd, cyhoeddodd y Sharp hwnw a nodasom eisoes wysiadau yn galw yr holl *militia* ynghyd i Carthage, neu Warsaw, i ymfyddino yn erbyn Joe Smith, &c. Yn mhen ychydig ddyddiau, ymffrostiai fod ganddynt saith mil o wyr arfog yn barod i'r ymosodiad ar Nauvoo! ïe, nodai y dydd a'r awr, ynghyd â dull yr ymosodiad, a llawer o fygythion oedd yn warthus i'r wlad, megys, y lladdent bawb yn Nauvoo, ac y llosgent y ddinas os na chaffent Joseph Smith, &c. Achosodd y bygythiadau hyn i *filitia* Nauvoo ymgasglu ynghyd i amddiffyn y ddinas; a thrachefn anfonwyd cenadau at lywydd y dalaeth i hysbysu ansawdd pethau, a dymuno ei gyfarwyddyd i ymddwyn. Ond yr oedd cenadau y terfysgwyr wedi eu rhagflaenu, ac wedi dylanwadu ar y llywydd i gredu eu camddarluniadau hwynt; ac yn lle chwilio i'r ddwy blaid, ymwelodd â Carthage, prif ymgynnullfau yr wrthblaid, a chafodd yno amryw filoedd wedi ymgrynhoi, ac yn gwledda ar y gwartheg, y defaid, a'r moch, a ladrataasent oddiar y Saint, ac yn meddwi ar y gwirod a ddarparodd eu blaenoriaid er eu haddasu i dywallt gwaed gwirion. Gwrandawodd y llywydd Ford ar eu cyhuddiadau, ynghyd â'u bygythion (canys ni phetrusent ei fygwth yn ei wyneb y caffai yntau yr un dynghed os safai ar eu ffordd yn eu penderfyniad i fynu "Joe Smith"), ac ar ddydd Sadwrn, Mehefin 22ain, 1844, anfonodd yr un *sheriff* gyda'r un warant ac osgordd gadarn gydag ef i Nauvoo i ymofyn y rhai a gyhuddid. Yr oedd yn nos pan gyrhaeddasant, a chawsant groesaw mawr gan Joseph Smith, a lluniaeth iddynt eu hunain a'u ceffylau. Addawodd ddychwelyd gyda hwynt boreu dranoeth, os arosent, gan yr ofnai y lleddid ef ar y ffordd gan y terfysgwyr; ond nid arosent, eithr dychwelasant, gan ddweyd ei fod ef wedi gwrthod dyfod, a'u bod hwythau dd m ond wedi dianc yn fyw o'r ddinas! Ar yr un pryd, anfonodd Joseph Smith i hysbysu y gwir i'r

llywydd, yr hwn oedd wedi credu y terfysgwyr fwy-fwy erbyn hyn; ond taflwyd y cenadau i garchar yn Carthage am yspïwyr; felly ereill, a thrachefn. Aeth ereill, dydd Sul, Mehefin 23ain, ac a sicrhasant i'r llywydd y deuai Joseph Smith a'r lleill yno boreu dydd Llun, os ardystiai efe am iddynt gael arholiad cyn cael eu lladd, yr hyn a addawodd yn deg iawn. Boreu dydd Llun, yn ol ei addewid, aeth J. Smith a'i frawd, a thuag ugain o honom, heblaw y *City Council*, tua Carthage. Ac er y gallasai J. Smith ei waredu ei hun o'u gafaelion mewn llawer dull; ïe, er y casglai cannoedd o'i ddeutu, gan erfyn arno â dagrau ar eu gruddiau, o anwyldeb tuag ato, i beidio myned i'r lladdfa; canys credai pawb braidd, ac yntau hefyd, na ddychwelai yn fyw. Ac nid anghofiaf byth yr olygfa hòno, pan safai yn y canol, a chan edrych o'i ddeutu, yna ar y ddinas a'i thrigolion, pa rai oeddynt yn anwylaidd ganddo, efe a ddywedodd, "Os nad âf yno, y canlyniad fydd dyfetha y ddinas hon a'i thrigolion; ac ni allaf fi feddwl am i'm brodyr a'm chwiorydd anwyl, a'u plant, ddyoddef golygfeydd Missouri drachefn yn Nauvoo; na, gwell gan eich brawd Joseph farw dros ei frodyr a'i chwiorydd, canys yr ydwyf yn foddlon i farw drostynt. Mae fy ngwaith wedi ei orphen; gwrandawodd yr Arglwydd fy ngweddiau, ac addawodd y cawn orphwys oddiwrth y fath greulonderau cyn hir, ac yna na rwystrwch fi â'ch dagrau i fyned i wynfyd." Ac wedi cofleidio ei blant bychain, y rhai a lynent wrth ei ddillad,—ffarwelio yn ddwys â'i briod, a garai yn fawr, mewn dagrau,—a rhoddi y cysur olaf i'w hen fam dduwiol, efe a anerchodd yr holl dorf yn effeithiol iawn, gan eu hannog i fod yn ffyddlon yn y ffordd, a chyda'r grefydd a ddysgodd efe iddynt, ac felly y caffai gwrdd â hwynt cyn hir allan o gyrhaedd *mobs* a phob gormes, a'i fod ef ar selio ei grediniaeth ynddi a'i waed; a phe buasai ganddo fil o fywydau, y buasai yn werth y cyfan.

Ar ol yr olygfa ryfedd a thorcalonus hon, pa un ni ddichon tafod ei thraethu, na phin ei hysgrifenu, cychwynasom oddiwrth ei dy ef ar geffylau, ond yn hollol ddiarfog, oddieithr rhai o honom a feddem lawddrylliau yn ein llogellau. Pan ar yr uwchdir, lle yr oedd y deml, a llu yn dilyn i gael yr olygfa olaf arno; safodd, ac edrychodd yn ol ar y ddinas am enyd mewn dwysder mawr, ac yna ebe efe, "O! ddinas, gynt yn ddedwyddaf, ond yn awr yn druenusaf mewn tristwch. Dyma y bobl dduwiolaf, garedicaf, a hoffaf gan y nefoedd o holl bobl y byd. O, pe y gwyddent beth sy'n eu haros!" Ond ymattaliodd, ac wedi edrych drosti drachefn, canlynasom yn y blaen tua Carthage. Ar y ffordd cyfarfuom â rhai o'r cenadau a aethant yno nos Sadwrn, a'r rhai a ollyngesid o'r carchar y boreu hwn. Darlunient y terfysgwyr mewn sefyllfa afreolus a gwaedlyd. Pan o fewn pedair milldir i Carthage, cyfarfuasom â thyrfa fawr o wyr arfog yn ein hymyl, yn hollol annysgwyliadwy; a phan welsant ni, ffurfiasant i ymosod arnom. Ar hyn safodd Joseph Smith ei geffyl ar ganol yr heol, ac a'n hanerchodd yn siriol a diofn, gan ein hannog,—"Frodyr anwyl, (ebe efe) ni allwch ddod gyda fi yn mhellach; ciliwch yn ol am eich bywydau, ac arllwysed eu holl ddialedd ar fy mhen i; myfi a'i dyoddefaf, canys yr wyf yn myned fel oen i'r lladdfa, a'm cydwybod yn rhydd tuag at Dduw a dynion;" ac ar hyn yr oedd wedi ei amgylchynu gan y milwyr (fel y deallasom eu bod), a'u cleddyfau noethion; a gorchymynai y Cadfridog iddo "*surrendro*." Ar

hyn, ei filwyr, fel ped ennillasent frwydr *Waterloo*, a floeddiasant *three cheers* am eu buddugoliaeth. Anerchodd J. Smith hwynt yn fyr a chynnwysfawr, a dangosodd iddynt nad oedd efe erioed wedi bod yn elyn iddynt, nac wedi anufyddhau i un o'r cyfreithiau erioed, ac er prawf o'u camsynied hwynt am dano ef ei fod yn awr ar ei ffordd yn wirfoddol, ac nid o raid, i ganol y rhai a sychedent am ei waed; ac (ebe efe), un ffafr a ofynaf genych chwi, os ydych yn Americaniaid, na omeddwch fi! Os oes ynoch ddynoliaeth, ac anrhydedd neu deimladau dynol, na ommeddwch fy nghais olaf hwn! Y ffafr fawr hon yw, ar i chwi amddiffyn fy mywyd fel y caffwyf arholiad cyfiawn o flaen brawdlys fy ngwlad. Nid wyf yn arswydo rhag y canlyniad, boed yr angau echryslonaf, gymmaint ag yr ofnaf farw â brycheuyn ar fy nghymmeriad, nac i'r byd waradwyddo y grefydd a broffesaf: a wnewch chwi addaw hyn? gofynodd ar gyhoedd. Atebodd eu Cadfridog yn y fan (sef, Dunn, efe a'i fyddin a ddaethent o swydd Mac Donough, ac yn hollol anadnabyddus cyn hyn o Joseph Smith), "Os hwn yw y Joe Smith y clywsom gymmaint am ei ddrygioni, fe'm siomwyd i yn hollol; celwyddau a glywsom i gyd, lanciau (ebe efe), a gwn i mai dyn da yw hwn, nad pwy yw, ac yr ydwyf fi (ebe efe gyda llw mawr) yn benderfynol i'w amddiffyn nes y caiff arholiad teg, serch fforffetio'm bywyd;" a chydsyniodd ei holl fyddin i'r un peth drwy "*three cheers for Joe Smith,*" yn uwch nag o'r blaen! Wedi hyn dangosodd Dunn lythyr oddiwrth y llywydd Ford yn gorchymyn i bobl Nauvoo roddi eu holl arfau i fyny iddo ef; ac er mor greulon a ffol oedd ceisio hyn, etto ufyddhaodd y Saint, a rhoddasant i fyny yn dawel yr unig amddiffyniad a feddent o'u bywydau, ar gais y llywydd, yr hwn, ar gais y terfysgwyr, a hwylusodd eu hamcanion llofruddiog. Rhyfedd i'r llywydd wneyd hyn heb ddiarfogi yr ymosodwyr, os nad oedd o'r un galon a dyben â hwythau! Troisom yn ol i Nauvoo; casglwyd yr holl arfau a'r magnelau ynghyd; ac yn y prydnawn, ail gychwynasom tua Carthage, lle y cyrhaeddasom yn fyw erbyn canol y nos, er fod y terfysgwyr wedi ceisio lladd Joseph Smith, er gwaethaf y milwyr. Lletyasom yn Neuadd Hamilton, a'r boreu dranoeth cwrddasom â'r llywydd Ford, ac addawodd i'r carcharorion nodded a chyfiawnder. Ar ddymuniad y byddinoedd, aeth y Cadfridog Demming gyda J. a H. Smith ger eu bron; canys nid oedd nemawr o honynt wedi eu gweled o'r blaen, na gwybod amgen am danynt na chwedlau y terfysgwyr. Achosodd hyn gryn derfysg yn mhlith byddin y "*Carthage Grays,*" Cadben Smith, (sef yr ustus hwnw a wysiodd y *warant*, a'r hwn, ynghyd â'i fyddin oedd y prif derfysgwyr,) oherwydd yr ystyrient hyny yn ormod o barch i'r carcharorion. O'r diwedd, drwy fygwth gorchymyn i'r lleill o'r byddinoedd eu carcharu, llonyddwyd y "*Carthage Grays.*" Yn y prydnawn cafwyd arholiad yn nhy Hamilton, oherwydd fod yn rhy beryglus i'r carcharorion ymddangos yn y *Court House*. Oherwydd cynddaredd y terfysgwyr, Dewisasant roddi meichiau am eu hymddangosiad yn y Sessiwn Chwarterol yn hytrach na myned ar arholiad. Gorphenwyd rhoddi meichiau, a chaniatawyd i'r *City Council* ddychwelyd i'w cartref: ond yr oedd y bradwyr gwaedlyd wedi darparu dalfa arall i J. a H. Smith, drwy osod dau o'u nifer, o'r enw H. O. Norton ac A. Spencer (o achos hwn bu y terfysg yn y "*Court House*" y soniwyd), i dyngu *warant* o

fradwriaeth yn erbyn y dalaeth i'w herbyn. Ar hyn mynai y *sheriff* eu trosglwyddo i garchar yn y fan, heb arholiad na dim ; ond yr oedd y terfysg ar hyd yr heolydd yn gyfryw fel y gwrthodasant fyned heb osgordd i'w hamddiffyn, ac wedi iddi dywyllu, daeth y *Carthage Grays* at y tŷ, ac a'u hamddiffynasant hwynt hyd y carchar, drwy ganol bygythion, llwon, a rhegfeydd. Gofynasai y carcharorion i rai o honom eu dilyn i'r carchar o ran cael ein cwmni, ebe hwy ; ond gwelwn cyn hyn mai i'r dyben o fod yn dystion profiadol o'u geiriau, eu hymddygiadau, a'u cymmeriadau, hyd angau, y dilynasom hwynt ; a diolchwn am i ni gael y fath fraint, a gwae ni oni wnawn yr iawn ddefnydd o honi yn ddiau. Clowyd ni oll gyda'n gilydd mewn daeardy, yr hwn oedd tua deg troedfedd ysgwâr ; ac yma treuliasom y noson gyntaf o'n carchariad yn melys ymddyddan am "ddirgelwch duwioldeb ;" a'r fath lawenydd a'u meddiannai pan rag-draethent eu bod hwy ill dau ar orphen eu gyrfa, a myned i'w fwynhau. Erioed ni welais mo honynt yn fwy siriol a nefolfrydig, nac erioed o'r blaen ni feddyliais mai Carchar Carthage yw porth paradwys.

Boreu dranoeth, symudwyd ni oll i'r llofft uwchben ty y ceidwad, i'r hon yr arweiniai grisiau oddiwrth y drws allanol ; drws gwael iawn oedd i'r oruwch ystafell, heb na chlo nac un math o ganad arno, heblaw fod tair o ffenestri mawrion arni, drwy ba rai y gallai a fynai saethu i bob cwr o'r ystafell drwy'r naill neu y llall o honynt. Deallasom fod cynhwrf yn mhlith y *mobs* oherwydd iddynt fwrw y dynion i garchar heb un math o arholiad, er i'r ustus dyngu anudon drwy lawarwyddo yn eu *mittimus* mai do ; ac felly na allent eu cael allan o'r carchar pan y mynent heb ganiatad y ceidwad ; yr hwn..yn gweled eu hawydd i ladd y carcharorion, ac fod llawer yn ymguddio yn y twmpathau gyda'u drylliau yn barod i'w saethu can gynted ag y deuant allan o'r drws a'u gommeddodd. Drachefn a thrachefn daeth y *sheriff* i'w ceisio dan yr esgus o fyned i'r *Court House* i dreial, a gommeddodd y ceidwad eu gollwng allan hyd oni cheffid gan un neu ddau o flaenoriaid y *mobs* i gerdded fraich yn mraich â'r carcharorion ; canys ystyriai hyny yn gryfach osgordd nâ'r "*Carthage Grays*," a'r cyfan ; ac felly yr aethant tua hanner milltir o ffordd hyd y *Court House* yn mysg y fath floeddiadau a bygythion y meddwon, a rhegfeydd y rhai a sychedai am eu gwaed, nes y dychymmygwn nad oedd annhebyg i'r olygfa waedlyd hono ar ben Calfaria, a chlywn eiriau go debyg i'r rhai a ddannodwyd yno, megys, "Yn awr yr hen Joe (ebe rhai yn ei wyneb), os ydwyt yn brophwyd, pa fodd y daethost i'r ddalfa fel hyn ?" Atebodd arall, "O, pe byddai Joe yn brophwyd, buan y galwai am leng o angylion, ac a'n lladdai ni oll, ac a ddiangai." Ie, rhyw sylwadau dwlion fel hyn a orlifai ei glustiau ar hyd y ffordd i'r *Court House*, yn mha le yr eisteddai eu gelyn proffesedig etto yn farnwr arnynt, a'i bartneriaid gelyniaethus yn dystion, ac yn gyfreithwyr i'w herbyn. Nid heb bledio taer gan gyfreithwyr y carcharorion, sef Mrd. Reid o Ford Madison, a Woods o Burlington, y cafwyd ohirio y treial hyd dranoeth, fel y ceffid y tystion yno, pa rai oeddynt yn byw tuag ugain milltir oddiyno. O'r diwedd caniatawyd hyn, a dygwyd y carcharorion yn ol i'r carchar. Enciliodd yr ustus rhag arwyddo y *subpeonas* i ymofyn y tystion amddiffynol, er y gwyddai na allai neb arall yno

wneyd hyny, nes y meddyliai ei bod yn rhy ddiweddar i hyny. Gwylid y carchar gan wyth neu ddeg o osgordd Cadben Dunn, y rhai oeddynt leiaf eu rhagfarn o'r cyfan; ac ar waith y carcharorion a'r lleill o honom yn pregethu iddynt, credent ein tystiolaeth nes addef mai anwireddau oedd y cyhuddiadau a draethid gan y terfysgwyr yn bwrpasol i ddial ar J. Smith. Nid anfynych y clywid hwynt yn perswadio y naill y llall i ddychwelyd i'w cartrefleoedd, ac nad unent â'r *mobs* i erlid ychwaneg. Wedi hyny deuai *guards* ereill, i'r rhai y pregethem yr un modd. Byddai ambell un mor ddialgar, fel na oddefai i Joseph Smith lefaru, pan, ar yr un pryd, y gwrandawent ar y lleill.

Tua deuddeg o'r gloch y noson hòno, gorweddasom fel y canlyn i gysgu:—Hyrum Smith, a Dr. Willard Richards, yn y gwely; Joseph Smith ar y naill ochr i mi, a John Taylor yr ochr arall; Col. Markum a brawd arall, yn nesaf iddo yntau, yn gorwedd ar *matresses* ar lawr: a dyma'r oll oedd o honom. Nid oeddym yn dysgwyl llai nag ymosodiad arnom bob awr braidd; er hyny, yr unig amddiffyniad a allem wneyd oedd, gosod cadair ar draws y drws mewn ffordd ag y cwympai os agorid y drws. Nid oeddwn wedi syrthio i drwmgwsg cyn y clywwn swn fel troediad trwm byddin yn nesâu atom. Codais i fyny, ac yspiais drwy y ffenestr, pan, wrth oleu y sêr, gwelwn fyddin eisoes ar gyfer y drws! Sylwais beth a ddywedent; ond yr oeddynt yn *whispro* mor ddirgelaidd fel na ddeallwn nemawr ond hyn, "Pa nifer a aiff i mewn?" Pan glywais hyny, deffroais fy mrodyr; ond nid oedd raid eu hysbysu p'am, canys eisoes arwyddai sŵn eu traed yn ymruthro i fyny at ein drws mai amser gwylied oedd. Safasom gerfydd y drws i ymosod ar y cyntaf a'i hagorai, a chlywwn hwy yn anadlu tufaes yn eglur. Bu dystawrwydd y bedd am fynyd neu ddau, gan ddysgwyl cawod o fwledi efallai i'n plith; ac yna gofynodd J. Smith yn wrol ac yn uchel, pwy oedd yno, a pheth a ymofynent? Gwahoddodd hwy i mewn, ein bod ni yn barod i'w derbyn, ac nad oedd gwahaniaeth ganddo ef farw y pryd hyny nag wedi y dydd, &c. Ar hyny ciliasant i lawr yn ddystaw: ac o hyny hyd oleu dydd ymgynghorent ar gyfer ein ffenestri beth a wnaent. Weithiau penderfynent ruthro arnom; ond cyn cyrhaedd y drws, efallai y rhwystrai plaid arall hwynt; ac felly y parhausant nes i ddychryn y llofrudd, sef goleu dydd, eu gwasgaru oll ond tuag wyth o'r "*Carthage Grays*," pa rai a arosasant yno yn wylwyr. Yn y boreu aethym, ar gais J. Smith, at y drws isaf i ymholi pwy a pheth oedd dyben y terfysg hwnw yn y nos. Cyfeiriais fy nghwestiynau at swyddog y *guards*, yr hwn a'm hatebodd gyda rhegfeydd echryslon, na chaffai y carcharorion byth ddod allan yn fyw; y cawn weled cyn y nos ei fod ef yn well prophwyd nâ Joe Smith; nad oeddwn innau un gronyn gwell nag yntau, na neb arall a'i pleidiai. Ar hyn coffeais y boneddwr pwy a pheth oedd efe, fod y llywydd Ford o dan lw y dalaeth wedi addaw nodded i'r carcharorion, ac wedi rhoddi eu bywydau yn ei ddwylaw ef, ac yr hysbyswn i'r llywydd ei fygythion, yr hyn a'i cynddeiriogodd yn fawr. Aethym i dy Hamilton ac amlygais y cyfan i'r llywydd Ford, a choffeais ef o'i addewid i amddiffyn y carcharorion, gan ddeisyf arno osod rhyw rai ereill i'w gwylied yn lle y *Carthage Grays*, pa rai a sychedent am eu gwaed; ond yn ofer, awgrymai nad oedd perygl yn

y byd. Wedi hyny aethym i hlith tyrfa fawr o'r terfysgwyr, a chlywwn eu penderfyniad ar gyhoedd i wneyd ffug ymadawiad hyd onid ymadawai y llywydd Ford, ac yna y dychwelent, a mynent ladd "Joe Smith," serch gorfod tynu y carchar i'r llawr. Wedi clywed y fath ddedfryd yn cael ei sêlio ar y dienog gyda *three cheers* gan y cyfan, dychwelais, a thraethais i'r llywydd Ford bob peth; ond etto nid ystyriai yn werth ei sylw! Aethym ar frys i hysbysu i'r carcharorion y pethau hyn, ond ni adawai y *guard* i mi fyned i mewn yn ol. Taer erfyniodd y carcharorion arnynt fy ngollwng i mewn, fod y llywydd wedi caniatâu hyny (yr hyn a addawsai pan ymwelodd â'r carchar y dydd rhagflaenol); ond i gyd yn ofer. Y drydedd waith dychwelais at y llywydd, gan ddesgrifio eu perygl, a dymunais gael *pass* ganddo i fyned i mewn; gommeddodd hyn hefyd, er i mi ddilyn ar ei ol nes yr oedd ar ei geffyl yn cychwyn gyda'r osgordd tua Nauvoo; ond, gorchymynodd i'r Cadfridog Demming roddi i mi *pass* i Willard Richards, fel ysgrifenydd i'r carcharorion, ond i neb arall.

Aeth y llywydd ymaith tuag un-ar-ddeg o'r gloch, gan adael wyth o'r *Carthage Grays* i wylied y carchar, a thua thrugain ereill yn y dref i wylied ar gylch gyda hwynt. Ac wedi hyny ymddangosodd eu dybenion yn eglur; cyrchai y bobl yn ol i'r dref yn lluoedd dan wban a bygwth; ac nid yn unig bygwth, ond darparu at y lladdfa waedlyd. Myfi fy hunan yn unig o'r Mormoniaid oedd yn eu plith. a mawr oedd eu bygythion i minnau; casglent o'm hamgylch yn dorfeydd; ac nid anfynych yr ergydiasant geryg ataf, oherwydd fy mod yn meiddio amddiffyn y carcharorion, a'u beiddio hwythau i adael iddynt gael treial dranoeth gan gyfraith eu gwlad, yn ol hawl pob dyn; a dannodwn iddynt eu bod wedi rhoddi eu hunain i fyny iddynt dan addewid o hyny, a'u bod yn awr yn eu meddiant hwy, ac os gallent eu profi yn euog, y cydunwn â'u dedfryd a'm holl galon, &c. Pan yn pledio fel hyn, cyfaddefodd un o'u prif flaenoriaid, "na ellid profi dim i'w beuogi, ac na chyrhaeddai cyfraith y wlad mohonynt, ond *powder and balls will.*" Ar hyn daeth un o'r *guards* i'm hysbysu fod "Joe Smith" yn fy ymofyn, ac er na chaniatäai y *guards* i mi fyned i'r carchar, nac i J. Smith ddyfod allan, etto caniatasant i Williard Richards ddod, i'r hwn yr hysbysais bob peth a ddeallais o ddybenion y *mobs* i'w lladd cyn y nos. Hysbysodd yntau fy mod i mewn mwy o berygl tuallan, a rhoddodd lythyr yn fy llaw, gyda deisyfiad Joseph Smith i fyned ag ef i *Quincy*, (tua thrugain milldir), a dychwelyd gynted ag y gallwn. Aeth y swn am y llythyr drwy'r *mobs*, fel ar adenydd yr awel, a haerai rhai mai *orders* oedd i "*Legion Nauvoo*" ddod yno i waredu y carcharorion; ac ereill a haerent ryw bethau ereill. Pan yn ceisio fy ngheffyl yn barod, tyngai rhai na chaffwn fyned oddiyno yn fyw, os na roddwn y llythyr iddynt hwy; ond ni allent gyduno yn hyn, fel y bu oreu er fy lles i, canys penderfynaswn farw yn hytrach na'i ollwng o'm llaw. Yna rhanasant yn ddwy neu dair plaid; y naill blaid am fy he a oddiyno rhag y blaen, llythyr a chyfan; a phlaid arall a fygythient na chyrhaeddwn Nauvoo yn fyw; ac ar hyn gwelwn amryw â'u drylliau yn eu dwylaw, yn rhedeg ar draws y caeau i'r coed gerllaw, drwy ba le yr arweiniai y ffordd i Nauvoo, ac er y deallwn eu dyben, etto ni welwn pa fodd y deuai gwaredigaeth i mi, ond y deuai rywfodd nid ammheuwn ronyn. Pan oeddynt

hwy yn ffraeo â'u gilydd, a'm ceffyl innau yn barod gerllaw, yspiais fy adeg, ac nid hir wedi i mi gyrhaedd y cyfrwy cyn yr oedd y ceffyl a minnau o'u golwg yn nghanol cwmwl o lwch, a'r bwledi yn chwibiann drwy'r awyr i bob man ond lle y dymunent. Cyn i mi gael amser i feddwl am y ffordd o'm blaen, yr hon oedd yn ddyeithr hollol braidd i mi, cefais fy hun yn y *prairie* yn cyflymu tua Warsaw, yn lle ffordd Nauvoo; deallais fy nghamsynied wedi cael golygfa ar y wlad oddiamgylch, a chroesais y *prairies* i'r ffordd iawn. Wedi hyny deallais i'm bywyd gael ei arbed, drwy gamsynied y ceffyl, rhag y rhai a'm gwyliai yn y coed; ac hefyd o'r ochr arall, deallais fy mod fel rhwng dau dân, oherwydd ped aethwn filldir yn mhellach heb droi o ffordd Warsaw, diau y lladdesid fi gan tua 300 o'r *mobs* creulonaf oll, pa rai oeddynt yn dyfod ar hyd y ffordd hòno i Carthage, pa rai a laddasant y carcharorion cyn pen dwy awr wed'yn! Ond caniynais i yn mlaen gan adael y llywydd Ford a'i osgordd, cyrhaeddais yn Nauvoo cyn machlud haul, ac arosais am agerfad i fyned tua Quincy. Tra yn aros yma, cyrhaeddodd y llywydd, a chlywais ei araeth i dyrfa fawr o bobl; ac nid cyfeiriedig at. na theilwng i neb, ond i'r terfysgwyr, oedd ei chynnwysiad. Adroddai yn flasus chwedlau disail y *mobs*, fel pe yn eu credu yn wirionedd, ac yna ebe efe yn nghlyw gwragedd, plant, a chyfeillion anwylaidd y dynion duwiol hyny, pa rai oeddynt yn cael eu llofruddio yn greulon ar y mynydau, ac y bygythiodd ef yn uchel, "*a severe atonement must be made.*" Clywwyd swyddogion y llywydd yn ei annog i brysuro oddiyno gan sicrhau fod y weithred (sef y llofruddiaeth) yn siwr o fod wedi ei chyflawni yr awr hòno, a dyna'r achos iddo ef a'i fyddin brysuro o Nauvoo gynted y gallent yn lle aros hyd dranoeth fel yr addawsai wneyd. Nid tebyg fod cymmaint tristwch mewn dinas yn y byd ag oedd yn teyrnasu trwy Nauvoo yn yr amser hwn. Dysgwylid yn awyddus am bob cenad a ddeuai, ac etto arswydid rhag clywed yr hyn a ofnent gymmaint; ond ni ddychwelodd cenad yn y byd y nos hòno o Carthage. Tua chanol y nos, daeth agerfad i lawr yr afon, ac aethym ar ei bwrdd tua Quincy (40 milldir), a galwodd y bâd yn Warsaw ar ei ffordd cyn goleuddydd, a mawr y terfysg oedd yno! Hysbyswyd gyda llawenydd mawr i'r *passengers* ar y bâd, fod "Joe Smith, a'i frawd Hyrum, wedi cael eu lladd yn ngharchar Carthage;" ac O, mor felys yr oedd y newydd i'w geneuau! Yr oedd y "Sharp" hwn fyth wedi cyhoeddi *extra* ar frys mawr, yn cyhuddo y Mormoniaid o fod wedi myned i Carthage i waredu y carcharorion, ac fod y *guard* yn y cyflawniad o'u swydd wedi saethu J. a H. Smith rhag iddynt ddianc, pan, mewn gwirionedd, mai myfi oedd y Mormoniad olaf a fu yn Carthage, ac wedi fy ngyru allan ar flaen eu *bagnets* megys! Ie, pan mewn gwirionedd, mai y "Sharp" hwn ei hun oedd yn blaenori y rhai a'u lladdasent, ac yn ymffrostio, "Iddo ef roddi un fwled drwy yr hen Joe; a phan oedd ei fysedd etto yn dyferu o waed gwirion, cyhoeddodd i'r byd mai y Saint a wnaeth, gan wahodd pawb o bob man i ymgasglu i amddiffyn Warsaw; fod y Mormoniaid eisoes wedi llosgi Carthage yn ulw, a lladd ei thrigolion, y llywydd Ford, a'r cyfan, a'u bod hwythau yn eu dysgwyl i losgi Warsaw bob mynyd! Do, cyhoeddodd hyn yn ei bapyr, ac anfonodd genadau i'r Swyddau ereill i alw y *militia* i'w hamddiffyn, pan mewn gwirionedd y gwyddai ei fod yn ddiberygl hollol o ran y Saint, a chlywn, pan yno, ei blaid yn addef ac yn canmol cyfrwystra dichell

"Sharp" i gael pobl yno; ac "mai ymosod ar ddinas Nauvoo, a lladd neu alltudio y *d-m-d Mormons* oedd eu hamcan." Ehedodd yr hanes anghywir hwn am laddedigaeth J. a H. Smith, dros y byd; ac nid y'm yn meddwl fod y gwir wedi ei ddala hyd yn hyn. Enghraifft yw hon o holl gyhuddiadau y Sharp hwn, a'i blaid, yn erbyn y Saint. Bum i mor fyrbwyll a'i gwrthddweyd ar y lan yno, yn ol a wyddwn; ac oni bai fod y llong yn fy ochr i neidio iddi, lladdasent finnau am hyny. Wedi cyrhaedd *Quincy*, gwelwn fod cenadau Sharp wedi cyrhaedd ac wedi cyffroi y ddinas drwyddi oll, nes y dysgwylient y Mormoniaid yno i'w lladd hwythau; ac yr oedd y *militia* yn darparu yn brysur i fyned i achub *Warsaw*, debygasent hwy. Wedi cael cyfleustra, a'r bobl ynghyd, gwrthwynebais y cenadau celwyddog hyny i'w gwynebau; ac yna gwelodd y bobl nad oedd perygl arnynt, na neb o'r Mormoniaid wedi hyd y nod godi ei law yn erbyn un o honynt, nac am wneyd, a dychwelodd pawb at ei fasnach, ac aethum innau gydag agerfad arall tua Nauvoo, lle y cyrhaeddais erbyn wyth o'r gloch boreu dranoeth.

O! y fath olygfa alarus a welid yn Nauvoo y dydd hwnw! Ni fu, ac ni fydd byth, ei chyffelyb; pawb yn bendrist ar hyd yr heolydd, yr holl siopau wedi eu cau, a phob masnach wedi ei hanghofio. Yn mlaen cyflymais fy nghamrau, nes cyrhaedd ty y diweddar Joseph Smith. Ymwthiais drwy'r dorf alarus, nes cyrhaedd yr ystafell lle y dodasid ei gorff ef ai frawd, (canys yr oeddent wedi eu dwyn o Carthage y dydd blaenorol); yno gorweddent yn eu heirch, ochr yn ochr; wyr mawreddig, fel y dyoddefasent, ochr yn ochr, o garchar bwygilydd am flynyddau, ac y cyd-lafuriasent, ysgwydd yn ysgwydd, i adeiladu teyrnas yr Immanuel; cariad tragywyddol a'u rhwymasai yn ddiysgog wrth eu gilydd, ac wrth eu Duw hyd angau; ac yn awr, fy llygaid a welai waed y ddau ferthyr duwiol yn ymgymysgu yn un llyn ar ganol y llawr—eu hen fam dduwiol a galarus ar ei gliniau yn ei ganol rhwng y ddau, a'i llaw ar bob un o'i meibion a orweddent mewn gore—ei chalon ymron ymhollti gan arteithiau dirdynawl a gofidiau annysgrifadwy. Wrth ben y meirw eisteddai priod anwylaidd pob un, ac oddiamgylch eu tad, safai pedwar o blant bach Joseph, a chwech o blant Hyrum, gan waeddi yn awr ac eilwaith, 'Fy nhad anwyl," "Fy nhad anwyl innau," ebe y lleill, heb atebiad yn ol, ond adleisiadau o'r muriau, "O fy nhad," ac o galonau y mamau, "Fy mhriod wedi ei ladd," a'r hen fam yn dwys ochain, "O fy meibion, fy meibion."

Yn mlaen yn awyddus ac yn drist ymwthiai y miloedd yn eu tro, i gael yr olygfa olaf ar eu brodyr anwyl, ag y bu eu cynghorion dwys, a'u dysgeidiaeth nefolaidd, yn fiwsig yn eu clustiau, yn lewyrch i'w llwybrau, ac yn llawenydd i'w calonau lawer gwaith. Yn yr heolydd oddiamgylch, teyrnasai dystawrwydd y bedd o'r braidd; ond pawb, foneddig a gwreng, â'u dagrau grisialaidd yn treiglo ar hyd eu gruddiau yn lli'. Yr oedd hyd y nod yr haul a'r elfenau wedi ymlonyddu megys mewn syndod, a holl natur yn edrych ar gynddaredd anorphen dyn at rai rhagorol y ddaear yn mhob oes a rhan o hono. Cofiaf byth fy n eimladau ar y pryd. Yn awr gwelwn y ddau ddyn mwyaf eu rhinweddau a'u doethineb yn ddiau ar y ddaear, pa rai a welais megys gynen yn pregethu yn fwynaidd, oddirhwng bariau haiarn eu carchar, efengyl yr hedd i'r rhai a geisient eu lladd; y ddau a safasant fel dwy frwynen yn nghanol ystormydd yn dystion i'r Iesu, er gwaethaf cyn-

ddaredd eddigeddus y wasg, y pwlpudau, a *mobs* yr oes. gan ymuniawni fel y frwynen a'i phen i'r lan ar ol pob awel gan ddirmygu elw ac enwogrwydd bydol, yn ddiysgog glynasant wrth eu nô l nes gorphen eu gwaith. ac fel eu brodyr henaf, a'u Blaenor o'u blaen. ni charasant eu heinioes hyd angau. ni ommeddasant wynebu yn wybodus i'r lladdfa; ond neidio ar yr allor waedlyd *a welent* yn eu haros yn Carthage, "fel y caffent adgyfodiad gwell." Ond pwy bin a all ddesgrifio yr olygfa hòno a theimladau y miloedd o alarwyr? Yr unig gysur a'u cynnaliai rhag suddo dan yr ormes a'r golled oedd, fod dydd o brysur bwyso yn dod ar hyn hefyd cyn hir, – fod yr hwn sydd a'r glorian gywir yn ei law yn canfod y cyfan ac y ——, ond ymataliaf. Haws i'r darllenydd ddychymygu nag i mi ddarlunio yr olygfa hon, a'i charlyniadau.

Claddwyd y ddau yn ddirgelaidd gyda'u gilydd, canys yr oedd gwobrwyon o amryw filoedd o *ddollars* eisoes yn cael eu cynnyg gan eu gelynion am eu pennau!! Ond i ddychwelyd yn ol i Carthage gyda'r hanes, o'r lle y diengais tua thri o'r gloch prydnawn, y 27ain. Dangosa y darlun a ganlyn yr ymosodiad ar y carchar, a sefyllfa y fan, yn eglur. yr hwn a ysgrifenwyd gan un o'r pedwar oedd yno ar y pryd, sef Dr. Willard Richards.

---

## PENNOD XXIII.

### HANES Y LLOFRUDDIAETH.

" DAU FYNYD YN Y CARCHAR.

" DICHON i'r hyn a ganlyn fod dri mynyd yn cael ei gyflawni. er nad wyf fi yn meddwl ei fod dros ddau; ac ysgrifenais ef ar gais, ac er eglurhad i'm cyfeillion.

CARTHAGE, *Mehefin 27ain*, 1844.

"Saethwyd cawod o fwledi i fyny y grisiau at ddrws ein carchar ar yr ail lawr, a chlywem swn llawer o draed yn rhuthro i fyny. Cauasom y drws, a safasom o'r tufewn i'w erbyn, ac i'w ddala yn nghauad, canys nid oedd arno na chlô na *latch* a ellid ddefnyddio. Drws o *bine* teneu yw; cyn gynted ag y cyrhaeddodd y swn traed ben y grisiau, saethasant drwy y drws, a'r belen gyntaf a basiodd rhyngom, ac a brofodd mai llofruddion oedd yno. Ar hyn newidiasom ein hagwedd. Neidiodd Mr. Joseph Smith, Mr. Taylor, a minnau, i'r ochr arall i'r ystafell, a Mr. Hyrum Smith a giliodd ddwy ran o dair ar draws yr ystafell ar gyfer, a'i wyneb at y drws, pan y saethwyd pelen o'r drws, yr hon a aeth drwy ei ben; yna cwympodd wisg ei gefn ar ei hyd ar lawr, heb symud ei draed. Ymddengys oddiwrth y tyllau yn ei ddillad a'i gorff wedy'n fod pelen arall wedi ei saethu drwy y ffenestr ar y pryd, yr hon a aeth i'w gefn. a thrwy ei gorff, nes sefyll yn ei awrlais, yr hon oedd yn mhoced ddeau ei *waistcoat*. gan ei chwilfriwio yn ddarnau. Rhaid fod y ddwy belen wedi ei daro ar yr un eiliad. Pan gwympodd, dywedodd yn ddealladwy, "Yr ydwyf yn ddyn marwol." Edrychodd Joseph arno, ac a ddywedodd, "O! fy anwyl frawd Hyrum!" Yna gan agor y drws ychydig fodfeddi â'i law aswy, saethodd allan ddryll chwe baril ar antur i'r fynedfa, o ba le ar y fomeot hòno

y daeth pelen, ac a rwygodd fynwes Hyrum yn agored, a aeth i'w bendan ei ên, ac allan drwy ei goryn, a drylliau ereill yn aneledig ato ar y pryd, ac aeth rhai peleni ereill drwyddo o'r drws. Parhaodd Joseph i saethu ei lawddryll i'w gwynebau, gan sefyll o'r naill ochr, a chyrhaedd ei law o amgylch post y drws, ond methodd tri baril a thanio. Safai Mr. Taylor wrth ei ochr a ffon yn ei law, â'r hon y curai flaen y baguets a ffroenau y drylliau a hwthid i'r drws. Yn ei ochr ef safwn innau gyda ffon arall, ond ni allwn gyrhaedd i daraw i bwrpas heb fod yn ffroen y drylliau. Wedi i'r llawddryll fethu, ni feddem fodd i amddiffyn ein hunain; a chan y dysgwyliem ruthiad y terfysglu i'r ystafell bob mynyd, y drws eisoes yn hanner llawn o ddrylliau, ac yn ymwasgu yn mlaen i'r ystafell, ac heb obaith o un man am achub ein bywydau, ond angau yn syllu yn ein wynebau o'r tufewn, rhuthrodd Mr. Taylor at y ffenestr, yr hon sydd tua 12 neu 15 troedfedd o uchder o'r llawr tuallan. Pan yr oedd ar neidio allan, saethwyd pelen oddifewn i'w glun, ac ar yr un eiliad saethwyd pelen arall oddiallan, yr hon a darawodd ei awrlais, yr hon oedd yn mhoced aswy ei *waistcoat*, gan ei chwilfriwio yn ddarnau, a gadael y bysedd yn sefyll ar 5 o'r gloch, 16 mynydau, a 26 momentau. Grym yr ergyd hon a'i gyrodd yn ol i'r ystafell, a chwympodd i'r llawr, ac a ymdreiglodd o dan y gwely oedd yn ei ymyl, ac yno y gorweddai fel un marw. Er hyn parhaodd y terfysglu o'r drws i saethu ato, ac a rwygasant ddarn o gnawd oddiar ei forddwyd fwy na llaw gwr, er y ceisiwn ei arbed fy ngoreu drwy guro a gwyro eu drylliau â'm ffon. Hwthiasant eu drylliau yn ochrog, nes bron ein cyrhaedd ninnau, pan yn y gongl ger y drws, ac o'r fan y dyrnwn eu drylliau â'm ffon. Fel yr unig obaith, anturiodd Joseph i'r ffenestr, o'r hon y cwympasai Taylor; ond cyn ei chyrhaedd braidd, aeth dwy belen drwyddo o'r drws, ac un arall oddiallan drwy y ffenestr a aeth drwy yn agos i'w galon; ac efe a gwympodd allan, lle yr oedd blaenau bagnets yn ei dderbyn, ac efe a waeddodd yn ddealladwy, 'O Arglwydd fy Nuw.'

"Nid cynt yr aeth ei draed ef o'r ffenestr nag yr oedd fy mhen innau ynddi, a'r peleni yn chwibianu o amgylch. Ar hyn gwaeddasant yn uchel, "Efe a neidiodd o'r ffenestr," a'r rhai oedd wrth y drws, ac ar y grisiau, a redasant allan. Ciliais o'r ffenestr pan welais mai ofer fuasai ei ddilyn ef, a neidio ar dros gant o fagnets, pa rai oeddynt erbyn hyn wedi crynhoi o amgylch corff Joseph Smith. Etto yn anfoddlon i'w adael, estynais fy mhen allan drachefn, a syllais yn graff am ychydig i weled a oedd rhyw arwyddion bywyd ynddo; heb gofio fy mherygl fy hun, penderfynais fynu gweled diwedd yr hwn a garwn fel fy hunan. Wedi fy moddloni ei fod ef eisoes yn farw, dros gant o'r terfysglu yn ymruthro arno, ac ychwaneg yn dyfod o'r ochr arall i'r carchar; a chan y dysgwyliwn bob eiliad iddynt ddychwelyd i'r carchar, rhedais at ddrws haiarn y gell ag oedd wrth ddrws ein hystafell ni, ac wrth yr hwn y safent i saethu o hyd, i edrych a oedd clô arno. Pan ar ei gyfer, gwaeddodd Mr. Taylor arnaf, "Cymmerwch fi gyda chwi;" ac wedi gweled fod y bariau hyny yn agored, dychwelais, a chariais Mr. Taylor yno, sef i'r carchar mewnol, ac a'i dodais i orwedd ar y llawr, ac a daenais fatrass drosto, fel na sylwid arno, canys dysgwyliwn y terfysglu i mewn bob eiliad. Sylwais wrth Mr. Taylor,—'Mae hwn yn wely go galed, ond os nad yw eich clwyfau yn farwol, gobeithiaf y

eewch chwi fyw i draethu yr hanes.'. Dysgwyliwn gael fy saethu bob eiliad, a sefais yn y drws yn barod, deued a ddelai.

"WILLARD RICHARDS."

Y terfysglu, wedi deall eu bod wedi lladd Joseph Smith, a giliasant ar ffrwst, gan gario tri gyda hwynt, y rhai a glwyfwyd yn farwol, ac a fuont feirw yn druenus yn fuan wed'yn.

Y terfysgwyr hyn a ddaethent o Warsaw gan mwyaf, ac a flaenorid gan "Thomas Sharp," ac ereill o berchenogion y Wasg. Yr oeddynt tua 300 o nifer, ac wedi lliwio eu gwynebau yn dduon, cochion, a melynion, fel nad adnabyddid hwynt. Aeth cenadau oddiyno tua Nauvoo i hysbysu beth a wnaethent, pa rai a drowyd yn ol gan y llywydd Ford ar y ffordd. Yr hyn a ganlyn a ddesgrifia yr olygfa oedd yn Carthage ar y pryd.

"12 *o'r gloch y nos, Tafarn Hamilton, Carthage.*

"At Mrs. Emma Smith, a Maj. Gen. Dunham, &c.

"Mae y llywydd Ford newydd gyrhaedd; addawa chwilio i mewn ac uniawni pob peth.

"Dywedaf wrth drigolion Nauvoo—Fy mrodyr anwyl, byddwch yn bwyllog; cydnabyddwch mai yr "Arglwydd sydd yn teyrnasu." Na ruthrwch allan o'r ddinas; nac ymgrynhowch i Carthage; arhoswch gartref, ac ymbarotowch rhag ymosodiad arnoch o Missouri. Addawa y llywydd bob cymmorth a allo roddi: anfonodd eisoes am filwyr: mae Joseph a Hyrum wedi eu lladd, ond nid gan drigolion Carthage, yn ol a ddeallaf

"Parotown y cyrff i'w dwyn adref cyn gynted ag y gallwn.

"Mae pobl y wlad yn frawychus iawn, ac yn ofni i'r Mormoniaid ddyfod yma i ymddial. Yr ydwyf fi wedi rhoddi fy ngair dros y Mormoniaid, yr arosant adref yn heddychol mor gynted ag y gellir eu hysbysu; ac nad oes perygl ar neb oddiwrthynt hwy, ac etto deisyfaf ar fy mrodyr yn Nauvoo, yn enw yr Arglwydd ein Duw, byddwch bwyllog, amyneddgar, a dioddefgar, yn hyn etto, fel y buoch bob amser; yn unig deued ychydig o'n cyfeillion a ddewisant yma i weled y cyrff ac i helpu eu dwyn adref. Mae clwyfau Mr. Taylor wedi eu hamgeleddu, ac nid ydynt yn farwol. Yr ydwyf fi yn iach.

"WILLARD RICHARDS.
"JOHN TAYLOR.
"SAMUEL H. SMITH."

"D. S. Amddiffynwch eich hunain hyd oni allaf anfon cynnorthwy i chwi, Mehefin 27ain, 1844.

"THOMAS FORD, *Llywydd y Dalaeth.*"

Cysur go wael oedd hwn gan y llywydd hwnw a orfododd y Saint i roddi fyny ar gais y terfysglu yr holl arfau a feddent i AMDDIFFYN eu hunain, onide? Pa fodd yr amddiffynent eu hunain, eu gwragedd, a'u plant, hyd y nod ar eu haelwydydd eu hunain, rhag y fath bobl, ac yntau wedi eu diarfogi, fel pe buasai yn bwrpasol i roi cyfle i'r lleill i gyflawni eu hamcanion? Ffurfied pob un ei farn am dano yn ol ei ymddygiadau, ei araeth yn Nauvoo, yn y carchar, a'r cyfan.

Wele lythyr un o flaenoriaid ei fyddin, a'r hwn a gyhuddid gan y

terfysglu o fod yn bleidiol i'r Mormoniaid, oherwydd ei ymdrech i weinyddu cyfiawnder, yn hytrach nag ymuno a hwynt.

"Mr. Orson Spencer,

"*Anwyl Syr*,—Byddwch mor ddaed â myfyrio ar y mater pwysig hwn, a chymmedroli yn y fath amgylchiad cyfyng. Dichon i'ch cymmedroldeb ragflaenu a rhwystro llawer o ddinystr. Yr oeddwn i yn fy nhy pan gyflawnwyd y weithred ysgeler. Diau ei condemnir gan y mwyrif hyd y nod o drigolion y swydd hon. Gwyliwch rhag ofn yr ymosodir arnoch gan y Missouriaid.

"M. R. DEMMING."

"D.S. Mae y llywydd Ford, a thrigolion Carthage oll braidd, wedi ffoi mewn dychryn mawr i rywle am eu bywyd, debygant.

"M. R. D."

Dranoeth wedi y lladdfa hon, galwyd *militia* a phobl Nauvoo ynghyd. Anerchwyd hwynt am ddeg o'r gloch gan y Barnwr Phelps, Col. Buckmaster (cenadydd y llywydd) ac ereill, pa rai a annogent bawb i barhau yn heddychol ac amyneddgar; a darparwyd erbyn dyfodiad cyrff y ddau ferthyr duwiol i'r ddinas. Tua thri o'r gloch cyfarfuwyd hwynt gan dyrfa fawr o bobl ar gyffiniau y ddinas, a daeth y cyfan i mewn yn drefnus a boneddig iawn yr olwg, oll dan arweiniad y *City Marshall*, ac yn cynnwys amryw filoedd o bobl. Pan gyrhaeddasant y "*Mansion House*," sef ty Joseph Smith, cymmerwyd y cyrff i mewn yno, ac ni ddichon tafod draethu yr olygfa alarus. Dros 10,000 o ddynion o dan y fath amgylchiadau yn gallu bod mor amyneddgar a dyoddefus â chyduno heb eithriad i ymorphwys ar gyfraith y wlad (yr hon a brofwyd iddynt eisoes lawer gwaith mor ddirym er eu galar) am nodded a chyfiawnder am y llofruddiaeth ysgeler hon o'u brodyr anwylaf, pan yn ngharchar o dan ymrwymiad y dalaeth i gael amddiffyniad a chyfiawnder; a phan ballai hyny, na siomid neb; ond y dysgwylient wedi'yn wrth y Duw cyfiawn yr hwn a weinydda gyfiawnder! Dyma i'r bedwaredd ganrif ar bymtheg esiampl anghydmharol o fwyneidd-dra, ac o hunan-lywodraethol bowerau Mormonaidd, pan yr addefir fod pob gallu yn eu llaw ar y pryd i nid yn unig dyfetha y swydd hòno, ond y dalaeth o'u blaen. Ie, dyma ffaith ddigonol i brofi nad ymosodwyr afreolus, nad dialwyr gwaedwyllt fel eu cyhuddid, ac nad llai duwioldeb ac efengyleiddrwydd y Mormoniaid nâ'r saint a fu! Pa le y ceir enghraifft o'r cyffelyb ymddarostyngiad gwirfoddol? Atebwn na wyddom am y cyffelyb yn yr oes hon, ond yn ymddarostyngiad ac ufydd-dod eu blaenoriaid, Joseph a Hyrum Smith, i bob cyfreithiau ac awdurdodau gwladol bob amser, ac hyd y nod yn y tro olaf hwn hefyd, er y gwyddent yn dda ddigon y costiai eu hufydd-dod hwn eu bywydau iddynt!! Dyma ffaith anwadadwy i brofi hefyd fod y cyhuddiad o fradwriaeth neu anufydd-dod mor anwireddus ar y personau duwiolfrydig hyn â phob cyhuddiadau ereill a gyhoeddai y llofruddion hyn, ac a adleisiai ereill o'r unrhyw chwaeth, ar hyd a lled y byd o'r braidd.

Dengys yr araeth a ganlyn o eiddo y llywydd Ford ei fod yntau wedi agoryd ei lygaid i ddeall pwy sydd yn feius am y terfysg hwn, a pheth yw cymmeriadau y Saint yn rhagor nâ'u gelynion. Pwy a ddiolcha iddo am ganfod erbyn hyn, pan y mae yn rhy ddiweddar? Cafodd

ddigon o fanteision a thystiolaethau i weled dybenion y terfysglu mewn pryd i achub bywydau y carcharorion, a diau mai i'r graddau hyny yr ystyrir ef yn gyfrifol am y defnydd a wnaeth o'i ddylanwad, megys yr hysbysasom iddo mewn Saesneg plaen ychydig oriau cyn eu lladd, yn ngwydd tystion, rhai o honynt yn aros, ac ereill wedi rhagflaenu i'w gyfarfod gerbron y frawdle lle y profir gwerth a rhinwedd gwaed gwirion Prophwydi ac Apostolion.

---

## PENNOD XXIV.

### ANERCHIAD Y LLYWYDD FORD AT BOBL TALAETH ILLINOIS.

"Dewisaf roi desgrifiad byr a gwirioneddol o'r amgylchiad cywilyddus a gymmerodd le yn Carthage, o barthed i'r Smith's, mor belled ag y cyrhaedda fy ngwybodaeth. Mae y Smith's, Joseph a Hyrum, wedi eu llofruddio yn y carchar; nid ydwyf yn deall gan bwy, ond mynaf wybod. [Ni allai fod wedi anghofio enwau y rhai a fygythiasant hyny yn ei wyneb !] Yr oeddwn i wedi ymrwymo fy hun y caent amddiffyniad, ac ar sail hyny rhoddasant eu hunain i fyny yn garcharorion. Rhoddodd y Mormoniaid yr holl arfau i fyny oedd yn eu meddiant, ac ymddarostyngodd y Nauvoo *Legion* i lywyddiaeth Cad. Singleton o Swydd Brown, yn foddlongar ac ufydd. A myfi a'i hanfonaswn yno i'r dyben hyny. Gofynodd y terfysgwyr hyn oll, er profi fod y Mormoniaid yn heddychlon ; ond ymddengys fod pob ufydd-dod ac ymostyngiad o eiddo y Mormoniaid wedi bod yn aneffeithiol i'w dwyn hwy [y terfysgwyr] i heddwch. Nid myfi yn unig a addawodd ddiogelwch i'r Smith's, ond fy swyddogion a'm milwyr a sicrhasant i mi y cynnorthwyent fi i'w hamddiffyn. [Gwaeth fyth ynte oedd eu trosedd a'u brad, a dylasai yntau wybod gwell oddiwrth eu "*honor*" blaenorol nag ymddiried bywydau dynion i'w dwylaw gwaedlyd.] Os gwnaed y weithred gan y rhai hyn [atebwn mai do, a pha fodd na wyddai ?], ychwanegasant frad at fwrdrad, a gwnaethant yr oll a allent i anmharchu y dalaeth, ac i ystaenio y '*public honor.*' [!! "*Public honor*" pwy, tybied ? Pa le yr oedd gynt yn cuddio ? Ai yn mynwesau llofruddwyr ?] Ar foreu y dydd y cyflawnwyd y weithred, meddyliasem am fyned â'r fyddin oll i Nauvoo ; ond deallais yn amlwg na foddlonid y fyddin â llai na hollol ddinystrio y ddinas [ac etto yn gadael y carcharorion yn eu dwylaw wedi deall cymmaint â hyny !] ; ac wedi unwaith gyrhaedd yno na byddai esgusion yn eisieu i ddechreu cyflafan. Yr oedd y Mormoniaid eisoes wedi ufyddhau i bob peth a ofynasid ganddynt, ac wedi ymddarostwng i fwy o lawer nag a ddylesid geisio ganddynt. Buasai ymosodiad o'n heiddom ni arnynt yn y tymmor hwn, pan y mae y cynauaf ar ein dwylaw, mor anfanteisiol ag a fuasai warthus [ac felly, wedi lladd y ddau oreu, ymddengys nad oedd deilwng i'r miloedd ereill ddiolch iddo ef am eu bywydau, ond i'r cynauaf ag oedd yn eu galw !] ; ac oherwydd hyn [sef y 'cynauaf,' ac nid oherwydd cyfiawnder, ac awydd i rwystro tywallt ychwaneg o waed gwirion], penderfynasom mewn cynghor [o fradwyr] i wasgaru y fyddin [fel y gallent fod yn rhyddach, a mwy anghyfrifol am y

mwrdrad], oddieithr tair catrawd; dwy o ba rai a adawwyd i wylied y carchar [ond tua 70 oll], a chyda'r llall aethym i Nauvoo i areithio i'r bobl hyny [do, druan, a gwaeth cysurwr nag eiddo Job oedd efe hefyd], ac i hysbysu iddynt beth a allent ddysgwyl, os yn fwriadol yr achosent derfysg [do, bygythiodd y byddai eu tai yn ulw, ac y caffai eu gwragedd a'u plant losgi yn y colcieth, ac na allai yntau eu hamddiffyn!! ond ni fynai, neu ni wnai, a feddyliai]. Meddyliaf ddarfod i mi gyflawni y ddyledswydd hon yn llym a chyflawn [ebe efe; do, mewn modd na ddarfu i neb arall er dyddiau Nero, ond ei bartner, sef Clark o Missouri]; a phan wedi dychwelyd oddeutu 3 milltir tua Carthage, cyfarfyddais â chenadydd oddiyno, yr hwn a'm hysbysodd o'r hyn a gymmerasai le yno. Prysurais i'r fan. Dywedir i mi ddarfod i'r *guards* wneyd eu dyledswydd [ond profwyd iddo wed'yn fod deallwriaeth eglur rhyngddynt â'u gilydd, a bod y *guards* wedi ysgrifenu llythyr at y terfysgwyr ereill, yn dweyd yr amser goreu i danio, ac wrth gwrs y gwaghaent hwythau eu drylliau i'r awyr uwch eu penau! Cafwyd gafael ar y llythyr wed'yn]; ond fod mwyrif wedi eu gorthrechu [os felly, pa fodd na chlwyfwyd hyd y nod un o'r naill ochr neu y llall?]. Diangasai llawer o deuluoedd o Carthage, ac ereill yn ymbarotoi i'w dilyn; a chan yr ystyriwn fod perygl i'r Mormoniaid ymddial, cefnogais hyn. Cynnygiodd y Cad. Demming aros yma gyda nifer fach o filwyr, i amddiffyn eiddo rhag difrod hyd a allai. Penderfynais fyned i Quincy, a darparu byddin ddigonol i ddarostwng terfysg. Yr wyf yn gobeithio na wna y Mormoniaid ddechreu, nac achosi un terfysg. Ond efallai y caf fy siomi yn hyn [pe cawsai, buasai y tro cyntaf iddynt ei siomi]. Ofnaf na foddlonir yr wrthblaid. Dichon yr ail ddechreuant eu creulonderau. Yr ydwyf yn benderfynol i gadw heddwch hyd y gallaf, boed y canlyniadau a fyddont. Meddyliaf fod genyf ddigon o esgus i wysio byddin ynghyd, ac i fod yn barod at fy ngalwad ar y rhybudd lleiaf. Drwy ymsefydlu yn Quincy, galluogir fi i gael pob newyddion yn gyflymach.

"THOMAS FORD,
" *Governor, and Commander-in-Chief.*"

Prif ddybenion y terfysgwyr, neu ran fawr o honynt, yn lladd Joseph a Hyrum Smith, oedd chwalu trigolion Nauvoo; a thybient, ac ni phetrusent gyhoeddi, mai "diwedd Joe Smith fyddai diwedd Mormoniaeth;" ac fel y meddiannasai y Missouriaid diroedd, tai, a dinasoedd, y Saint dair gwaith o'r blaen, y meddyliai y rhai'n am gael dinas Nauvoo, a'r tyddynod gwerthfawr oedd oddiamgylch iddi. I'r dyben hyn fyth, crynhoent gymmaint o ddynion ag a allent, dan bob esgusion a dichellion, i Carthage, gan ymbarotoi i ymosod ar, a dinystrio Nauvoo. Mynych y cidnapient y Saint a ddalient ar eu cyffiniau, ac a'u baeddent yn erwin. Rhwymasant rai wrth brenau yn ddiachos, gan eu fflangellu a'u harcholli yn fawr, gan ddysgwyl wrth hyny y temtient bobl Nauvoo i ymddial, a thrwy hyny y caffent achos i'w herbyn. Fel hyn cedwid y swydd hono mewn terfysg ac ofnau o hyd; ac hyd y nod wedi marwolaeth y merthyron, mynych ein gelwid o'n gwelyau yn nghanol o nos i achub ein bywydau, oherwydd fod y terfysgwyr yn dyfod i Nauvoo i'n lladd. Oherwydd i'r Llywydd Ford

glywed y pethau hyn, ynghyd â bod y terfysgwyr yn bygwth amlygu ei bartneriaeth ef â hwynt yn y weithred ysgeler a wnaed yn Carthage, os rhwystrai eu hamcanion, efe a gyhoeddodd yr anerchiad a ganlyn :

"QUINCY, *Mehefin* 30*ain*, 1844.

"*Syr*,—Nid wyf yn meddwl yr achosa y Mormoniaid unrhyw derfysg, na bod achos i'r wrthblaid ofni dim. Drwg genyf glywed fod y terfysgwyr yn parhau i draethu ac i gyhoeddi mil o chwedlau a chamgyhuddiadau hollol ddisail, er mwyn casglu pobl ynghyd, heb fy nghaniatâd i, gan obeithio, wedi eu cael i Warsaw, y eydunant â'u cynghorion bradwrus ac ysglyfaethus hwynt. Mae hyn yn ystryw ar y wlad, ac ni ellir ei oddef.

"Ofnaf fod terfysgwyr Swydd Hancock yn prysur golli ymddiried a chydymdeimlad eu cyd-ddynion, nid yn unig yno, ond drwy y byd. Gorchymynaf yn bendant, na oddefwch iddynt ymosod ar Nauvoo, nac ar neb o'i thrigolion mwyach, heb ganiatâd oddiwrthyf fi. Meddyliaf mai gwell fyddai gwasgaru eich byddin chwithau, oddieithr i chwi weled yn anghenrheidiol cadw rhai er rhwystro a chwalu y terfysgwyr; am hyny bernwch chwi.

"Dymunaf arnoch orchymyn ymaith yn ddioed y bobl a ddaethant drosodd o Missouri, ac o Iowa.

"Gorchymynaf i chwi ddala trwy warrant pwy bynag sy'n pleidio yr ymgasglu i ymosod ar Nauvoo, neu ryw derfysg arall; a'ch bod yn arferyd pob moddion i rwystro yr arferiad gwarthus, ac o'r blaen llwyddiannus, o gyhoeddi pob math o gamgyhuddiadau a chwedlau anwireddus, yr hyn a wneir yn bwrpasol i gyffroi y cyhoeddus.

"(Arwyddwyd) THOMAS FORD,
"*Commander-in-chief.*

"At Brig. Gen. Demming, Carthage, Ill."

Yr oedd pob peth yn heddychol yn Nauvoo, fel yr oedd wedi bod, heb un ymddangosiad na bygythiadau i ymddial, ond yn unfrydol ymroisant, yn ol eu penderfyniadau blaenorol, i ddilyn heddwch â phawb. Aeth pob masnach yn mlaen fel cynt. Dwblodd y Saint eu diwydrwydd i adeiladu y deml, &c.; a thrwy ymdrechiadau selog Cad. Demming, ynghyd â bod awduron a golygyddion y wlad wedi dod i ganfod dichellion y terfysgwyr yn camddarlunio, a dod i Nauvoo eu hunain i weled y gwir o bethau, a chyhoeddi y gwir yn lle chwedlau y lleill, gwrthweithiodd dylanwad y ffrwd a greodd y terfysgwyr i ymarllwys ar eu penau eu hunain, fel y gorfu iddynt wasgaru a rhoddi i fyny eu hamcanion drygionus am yspaid. Gwelsant mor eglur nes y gorfu iddynt addef eu bod, yn lle wedi gwasgaru a dyfetha eglwys Dduw, na rhwystro ei chynnydd un dim drwy ladd ei blaenoriaid, ïe, eu bod drwy hyny wedi ei henwogi yn fawr, ac achosi i filoedd i ymchwilio i'w hegwyddorion, y rhai nad ystyrient hi yn deilwng o'u sylw gynt. Ac mai y weithred waedlyd hon oedd y drych cywiraf oll i bawb ganfod Mormoniaeth *versus* Sectariaeth yn eu lliwiau priodol eu hunain. Ac yn wir, pa ddyn a feddai reswm a'r na ragwelsai y *cementiai* gwaed gwirion prophwydi ac apostolion duwiol yr holl Saint

yn un mewn rhwymyn a chwlwm cariad tragwyddol yn gadarnach nâ dim arall? Yn hyn hefyd gwiriwyd dywediad dwyfol, sef fod "pob peth [a hyn hefyd] yn cydweithio er daioni i'r rhai sy'n caru Duw."

O na, nid yw y neb a ystyria hyd y nod mai Joseph Smith yw AWDWR Mormoniaeth, yn deall dim o barthed iddi. Er, mae'n wir, mai efe a gafodd y fraint o fod yn offeryn i'w sefydlu yn "ngoruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd" hyn, ac mai efe o bawb a wnaeth ac a ddyoddefodd fwyaf erddi, etto *offeryn* yn unig oedd efe yn llaw yr hwn a bïa y gwaith, sef Arglwydd Dduw Israel, yr hwn sydd alluog i, ac a'i cwblha; efe a'i cwttoga, a'i cyflyma, ac a'i gwna yn fyr mewn cyfiawnder, er lladd Joseph Smith a'i frawd, a lluoedd ereill, o'r herwydd.

---

## PENNOD XXV.

### CYMMERIAD JOSEPH SMITH.

MAE cannoedd o filoedd yn mhedwar cwr y byd a wyddant mai Joseph Smith oedd y dyn duwiolaf ar wyneb daear, ïe, a wyddant hyn, meddwn, tuhwnt i ddadl, heblaw y miliynau dirif a raid iddynt addef hyn etto; ac yn eofn y beiddiwn neb yn Nghymru, nac yn y byd, i brofi i'r gwrthwyneb. Meddylied y rhai anadnabyddus o hono ef a fynant am ein tystiolaeth, nid yw hyny o bwys i ni; yr ydym yn atebol i Dduw a dynion am yr hyn a ddywedwn yn unig, ac ni ddywedwn ond yr hyn a wyddom.

Profir hyn hefyd drwy y gwaith mawr, a'r darpariadau rhyfeddol a wnaeth tuag at adferu crefydd bur, a chasglu gweddillion Israel yn ol cyfammod Duw ag Abraham ac ereill. Gofynwn yn mha wlad neu oes y gwnaed y fath chwyldroad yn y byd crefyddol? yr hwyluswyd achos Seion, ac y gorlifwyd y byd â'r fath oleuni nefol, ag a wnaeth Joseph Smith mewn llai nag ugain mlynedd, er pan ymddangosodd yr angel gyntaf iddo? Ie, cofier mai bachgenyn diddysg, triniwr anifeiliaid yn y goedwig, oedd efe, braidd yn ddwy-ar-bymtheg oed,—fel yr helyg ar lan yr afon yn gwrthsefyll cynddaredd tònau y ffrwd lifeiriol, y gwynebodd ac y concrodd y bachgenyn hwn holl ddoethineb ddynol, poblogrwydd, cyfoethogrwydd, a gwargaledrwydd, cenedl drofaus a godinebus, ïe, ac yntau yn amddifad o un medrusrwydd, profiad, cyfoeth, na dylanwad o'i blaid, na dim ond gallu dwyfol, gwirioneddau anwrthwynebol, ffeithiau hunan-brofiadol, a dadguddiadau dwyfol yn cynnwys cymmaint o oleuni, ac o Ysbryd Duw ynddynt, fel na ellid eu gwrthsefyll o eneuau ei weision; ond pa rai ydynt yn saethu eu pelydrau o oleuni nefol a chariad dwyfol, i bob calon onest a'u derbyniant, ac yn adlewyrchu fel pelydrau tanbeidiawl yr haulwen oddiar ddrych gogoneddus, ac yn bywhau, addurno, a gogoneddu, y sawl a'u meddo.

Er gwaethaf holl elynion y gwirionedd i dduo cymmeriad, ac i ystaenio coffadwriaeth, Mr. Smith, y mae colofnau ei hanesyddiaeth mor ganaid â'r eira gwyn oddiwrthynt oll; ac er addurno y darlun o'i fywyd a'i farwolaeth yn odidocach etto, cydiodd yn eofn a dewr â'i law ei hun yn y brwsh, a phaentiodd *forder* o'i amgylch o liw ysgarlad, sef *â'i waed ei hun!* Teilwng o'r fath addurniadau yn unig yw yr

hwn a wnaeth Duw yn gof-adail i'r bedwaredd gaurif ar bymtheg, o berffeithiad ei nerth ef drwy waeledd offeryn fel Joseph Smith! Daeth allan o ganol tua hanner cant o ffwrneisiau a boethid iddo gan erlidwyr, o flaen brawdlysoedd, ar gyhuddiadau o ryw drosedd neu gilydd, yn saith boethach nag i ereill; ac o honynt oll gwaredodd Duw ef, fel y tri llanc hyny, heb ddeifio blewyn o wallt ei ben (sef ei gymmeriad), nac arogl tân ar ei wisg. Esgus wael fydd gan ei elynion pan safant o flaen Arglwydd Dduw Joseph Smith a'u Barnwr hwythau, dros dywallt gwaed gwirion. Y pryd hyny bydd yn rhaid iddynt addef y gwir ar gyhoedd, sef, mai o genfigen at ei dduwioldeb, ac o eiddigedd at ei fawredd a'i ogoniant anghydmharol, y lladdasant ef. Diau mai ofni cyfiawnder diweniaith Joseph Smith, a dychryn rhag eu haeddiant eu hunain, yn mhlith pethau ereill, a'u cynhyrfodd i'w ferthyru.

Oherwydd ei larieidd-dra a'i ddiddichelldra yn barnu pawb mor onest ag ef, ymlithrodd rhai dynion dichellgar a hunanol i blith cyfeillion Joseph Smith, pa rai, yn ei gyfyngdra mwyaf, a ymddygent ato fel y sarff hono a gafodd rhyw ddyn ar y ffordd yn mron a thrigo gan oerni, ac efe a'i cynhesodd yn ei fynwes nes iddi fywiogi, a'r modd yr ad-dalodd ei diriondeb oedd drwy ei frathu hyd ei galon. Felly hwythau ni allent sefyll yn mhlith y gwenith o flaen ei wyntyll rymus ef, pan chwythai droseddwyr o'i wydd fel us o flaen corwynt rhuthrol. Diau ddarfod i gau frodyr, neu yn hytrach fe'u hadnabyddir wrth eu henwau priodol, sef "gwrthgilwyr," ddylanwadu yn fawr ar ereill i'w amddifadu o'i fywyd. Hwy a welsent ei fawredd, a hwy, fel Dalilah gyda Samson, a wyddent am ei wendidau hefyd. Etto mae eu buddugoliaeth arno yn waith i'r dalaeth a'r genedl, ac wedi eu handwyo hwythau yn dragwyddol. Ni allant ei ragdyfu; ni allant ei ragfyw; ac ni allant ei ddadwneyd, ei olchi ymaith, na'i *ragfarw* ychwaith. Y mae y ddedfryd wedi ei hargraffu â phin aur ar galonau miliynau yn eu herbyn, o'r hwn a gydymffurfiodd hyd yr hwn a saethodd y peleni marwol yn ngharchar Carthage; ac yn mhob mynwes lle y triga gonestrwydd, dynoliaeth, cariad at fywyd, neu ryddid a hapusrwydd, oddiyno hefyd yr anadla "anathemau" cyfiawn yn erbyn "cigyddfa Carthage." Dialedd a digofaint Duw cyfiawn a dynion da, a ganlyna gamrau yr holl euogion a'u cefnogwyr gyda dychrynfeydd, fel y desgrifia Milton byrth mynedfan y Jehenna ei hun,—

"——— *grating harsh thunder.*"

Dywedodd ein Harglwydd, "Anghenrhaid yw dyfod rhwystrau; ond gwae y rhai hyny trwy ba rai y deuant!" Yn ol y rheol y proffesa yr holl fyd Cristionogol yn gystal â ninnau eu bod yn ymlwybro sef y gyfrol santaidd, gwelir ei fod yn unol ag arferiad grasol ein Duw i anfon prophwydi i'r byd yn mhob oes ag yr oedd ganddo waith neillduol i'w wneyd; ac yn eglurach etto dywed yn bendant drwy ei was "na wna yr Arglwydd Dduw *ddim* a'r na ddangosa ei gyfrinach i'w weision y *prophwydi.*" Dengys yr un drych cywir hefyd mai y cyffelyb driniaeth greulon a gawsant oll, o Abel hyd y diweddaf y sonia, ïe, hyd y nod ei anwyl Fab ei hun, i'r driniaeth greulon a gafodd eu brodyr olaf hyn yn Carthage, ac ar hyd eu hoes. Ac nid llai rhyfedd na

gwir ychwaith, mai y genedl a broffesai fwyaf o sel heb wybodaeth, o rith duwioldeb dan wadu ei grym hi, ac o fwyaf o ddoethineb colegawl, pwlpudawl a dynol ddefosiynau yn lle dwyfol ordinhadau, oeddynt, ac ydynt uchaf eu llais, mwyaf eu hymroad, ac awchusaf eu gwaewffyn a'u cleddyfau i dywallt gwaed y dwyfol anfonedigion [h. y. y genedl hono]. Dyma paham y bydd y cenedloedd paganaidd yn eiddo yr Arglwydd yn nydd ei nerth, sef oherwydd na byddant hwy yn euog o dywallt gwaed prophwydi fel "*yr oes oleu hon,*" a'r "*oes oleu*" arall. Nid yw eu "cydwybodolrwydd" yn gwneyd hyn dros Dduw fel y dychymmygant, ond yn tynhau eu rhwymau, ac yn mwyhau eu dedfryd, canys dylasent chwilio i mewn i'r peth cyn ei gollfarnu, na'i wrthwynebu! Ond at yr hanes.

---

## PENNOD XXVI.

### RHAGDRAETHIAD JOSEPH SMITH O'I FARWOLAETH

YR oedd Joseph Smith wedi rhagweled fod ei ddiwedd yn agosâu, ac mewn darpariaeth i hyn yr oedd wedi bod am tua phedwar mis braidd yn feunyddiol (cyn dechreu, na bod arwyddion, o'r terfysg olaf) yn dysgu i'r apostolion, yn eu cynghorau, am ddirgelion teyrnas Dduw, a'r dull a'r modd i gario y gwaith yn mlaen wedi ei ymadawiad ef; ac wedi gorphen rhoddi iddynt eu cynnysgaethiad, dywedodd yn eglur, "Ar eich ysgwyddau chwi y gorphwysa teyrnas Dduw yn awr; ymwrolwch i'w lledaenu dros y byd; ni waeth beth a ddaw o honof fi mwyach, na pha mor gynted y caf fi fyned i orphwys, &c." Hysbysodd ar gyhoedd tua 15.000 o bobl mor eglur nes y deallodd pawb ei fod ar eu gadael ar fyrder. Dywedodd na chaffai fyw i weled y deml wedi ei chwblhau, ond ei fod wedi cyflwyno yr allweddau angenrheidiol at roi y cynnysgaethiad, a phob peth arall i'r apostolion. Ychydig wythnosau cyn dechreu y terfysg hwn, aeth yr apostolion oll ond dau, sef Willard Richards, a John Taylor, yn ol ei gynghor ef, i bregethu drwy y taleithiau dwyreiniol, "canys," ebe efe, "nid yw eich bywydau yn ddiogel yn Nauvoo, nac yn y cylchoedd hyn;" ac yno yr oeddynt pan laddwyd ef. Dychwelasant i Nauvoo cyn gynted ag y cawsant wybodaeth; ac ar yr 8fed dydd o fis Awst, cynnaliwyd cymmanfa yn Nauvoo, i reoleiddio pethau am yr amser dyfodol, ac i ddwyn i weithrediad y mesurau a drefnwyd trwy Joseph Smith; ond yn benaf er i'r apostolion sefyll yn eu lle priodol yn ben ar yr eglwys ar y ddaear, yn absenoldeb ei blaenoriaid blaenorol. Yr oedd yno o ddeuddeg i bymtheg mil o Saint wedi ymgasglu, a'u rheoleiddio yn ddosbarthiadau yn ol eu swyddau. Anerchodd Brigham Young, Orson Hyde, P. P. Pratt, ac ereill, y dyrfa yn wresog ac effeithiol, nes y canfyddai pawb fod mantell y prophwyd mewn gwirionedd wedi disgyn ar yr apostolion; a'r holl dyrfa yn ddieithriad a arwyddasant eu cymmeradwyaeth o'r apostolion yn arweinyddion i'r eglwys trwy dderchafiad deheulaw.

Tua'r amser hwn amcanodd rhai a ddaliai swydd uchel, a chryn ddylanwad, ymddyrchafu a gwrthryfela yn erbyn yr awdurdodau eg-

lwysig, a llwyddasant i raddau i ddenu dyscyblion ar eu hol; a'r rhai hyny oeddynt ddauddyblyg ac ansefydlog eu meddwl, ac a'u dilynasant am yspaid; ond y mwyrif o lawer a ddeallent lais eu bugeiliaid yn rhy dda i'w twyllo felly.

Yn mhlith ereill a ysgymunwyd oherwydd eu gwrthryfelgarwch, yr oedd Sydney Rigdon, James J. Strang, ac ereill. Fel ser gwibiog, megys am foment, ymddysgleiriodd y rhai'n drwy'r awyrgylch gorllewinol, ac yna hwy a ddiffoddasant, a'u canlynwyr oll braidd a ddychwelasant mewn edifeirwch dwys i'r gorlan yn ol. Llwyddodd a ffynodd y Saint gartref ac ar led y byd wedi hyny, fel y perarogla gwely o bêr lysiau ar ol cawodydd hyfryd o wlith neu wlaw hafaidd. Cydunasant fwy-fwy i gwblhau y deml, ac i adeiladu y ddinas trwy ymdrechiadau egniol ac unfrydol; ac nid rhyfedd hyn pan ystyrir fod yr ystormydd blaenorol wedi chwythu yr us ymaith, a nithio y gwenith nes ei buro a'i lanhau.

Cyn diwedd yr haf hwn, aeth amryw gannoedd o henuriaid a swyddwyr ereill ar genadaeth drwy'r gwahanol daleithiau, Canadas, ac ynysoedd y môr. Cychwynais innau, Wilford Woodruff, a Hyrum Clark, a'n teuluoedd—hwy i Loegr, a minnau, yn unol â'm hetholiad blaenorol, i Gymru. Teithiasom ar draws talaeth Illinois hyd Chicago, tua 250 o filltiroedd, mewn pedrolfeni, gan ymweled ag amryw eglwysi ar ein taith. Yno cymmerasom agerfad i ddyfod dros y llynau, Michigan, Huron, Erie, St. Clair, ac Ontario, hyd Oswego yn nhalaeth Caerefrog Newydd, tua 1400 o filltiroedd; ac oddiyno daethom mewn *canal boats* hyfryd hyd Albany, dros 300 o filltiroedd; ac yna mewn agerfad i lawr yr afon Hudson, 160 o filltiroedd, hyd Gaerefrog Newydd. Arosasom yn y ddinas hon, gan bregethu a gweini yn y cylchoedd hyd ddychweliad y brawd Woodruff o dalaeth Maine. Cychwynasom ein tri, a'n teuluoedd, ynghyd â dau o genadau ereill o'r enw Hardy a Holmes ar fwrdd llong o Gaerefrog tua Llynlleifiad yn nechreu mis Hydref; ac wedi mordaith dymhestlog, cyrhaeddasom y porthladd dymunol y dydd cyntaf o Ionawr, 1845. Cawsom fod yr eglwysi yn llwyddiannus drwy Frydain yn gyffredinol, a nifer y Saint yma dros 10,000. Yn mhen ychydig ddyddiau, aethym i dref Gwrecsam, yn Ngogledd Cymru, a dechreuais bregethu yr efengyl heb nemawr lwyddiant am beth amser, ond y wlad wedi ei gorlenwi â'r ystorïau disail a ddyfeisiodd "Thomas Sharp," a'r gelynion ereill, pa rai a gredid yn gyffredinol yn hytrach nâ'r gwir. Nid oedd neb wedi cynnyg pregethu yr efengyl hon yn Gymraeg drwy un o siroedd y Gogledd cyn hyn. Wedi cyhoeddi dwy fil o draethodau, o 48 tudal., yn dangos sefydliad a chynllun yr eglwys apostolaidd, &c., aethym ar daith drwy'r siroedd gogleddol, a mawr y cyffroad a achosodd, a'r gwrthwynebiad a gaffwn yn mhob man braidd gan y sectariaid mwyaf selog, ond gwrandawiad astud gan ereill. Y ganghen gyntaf a sefydlais o eglwys Iesu Grist, Saint y Dyddiau Diweddaf, oedd yn Rhosllanerchrugog; a'r Cymro cyntaf a fedyddiwyd oedd dyn oddiyno, pan glywodd a chredodd yr efengyl, o'r enw Robert Evans, gynt yn bregethwr doniol gyda'r Cambelliaid. Yn yr haf canlynol ymwelais â Merthyr Tydfil a'i chylchoedd, lle y cefais nifer o ganghenau, yn cynnwys dros ddau cant o Saint, pa rai a glywsent yr efengyl gan henur-

iad, o'r enw Wm. Henshaw, a ddaethai yma o Loegr ychydig cyn hyny; ac nid anghofiaf byth fy llawenydd pan gyfarfum â chynnifer o'm brodyr a'm chwiorydd unwaed wedi dyfod i rwymyn yr un cyfammod tragwyddol, i gydweled, ac i gydrodio ar hyd yr un llwybrau, ein diodi o'r un Ysbryd dwyfol, ac yn cyrchu at yr un nôd. Mewn amrywiol ganghenau yma, mwynhaent ddoniau yr Ysbryd Glân yn helaeth, a'u lluosogiad oedd yn gyferbyniol i'r erlidigaethau a ddyoddefent oddiar law proffeswyr crefydd yr Iesu addfwyn!

Cynnyddodd y Saint mor gyflym er pob peth, nes yr oeddynt dros fil o rifedi yn yr haf canlynol, ac yn cynnal cyhoeddiad misol, heblaw wedi cyhoeddi tua dwsin o fathau o draethodau athrawiaethol ereill.

Yn yr haf, 1845, daeth newyddion daionus iawn o Nauvoo, sef, fod y Saint wedi gorphen y deml, ac amryw gannoedd o'r henuriaid wedi derbyn eu cynnysgaethiad ynddi. Ond cyn diwedd yr haf, cyfnewidiodd yr olygfa yn alarus. Yr oedd y terfysgwyr wedi cael eu gorfodi i fod yn llonydd am yspaid, oherwydd bod eu blaenoriaid dan feichiau i ymddangos yn y cwrt chwarterol ar y cyhuddiad o ladd Joseph a Hyrum Smith; ac er y profwyd Thomas Sharp ac ereill yn euog o "*lofruddiaeth wirfoddol;*" etto gollyngwyd hwy allan dan feichiau o lai nag *ugain punt!!* Ac yn y diwedd ni chospwyd neb hyd heddyw am dywalltiad y gwaed gwirion hwnw, ond parha i waeddi allan, "Pa hyd?"

Y terfysgwyr, wedi ymhyfhau oherwydd y rhyddid hwn, a ymroisant ar godi terfysg yn erbyn trigolion Nauvoo drachefn drwy ddwyn camgyhuddiadau yn erbyn eu blaenoriaid, er eu dwyn allan i Carthage, fel y dialent arnynt hwythau fel y gwnaethent ar y lleill o'u blaen; ond wedi hir a chwerw brofiad, yr oedd y Saint o'r diwedd wedi dysgu "deddf gyntaf natur," sef achub eu hunain, yn well, yr hyn a wnaent drwy ochelyd o'u ffordd. Yr oedd y fath wrthwynebiad i'r Saint hyd y nod yn y Senedd fel y dileasant "*Charter*" y ddinas, er yn anghyfreithlon. Ac fel y profwyd wedy'n, yr oedd rhai o aelodau y Senedd yn blaenori y terfysglu. Dyfeisiodd y terfysgwyr ddichell i grynhoi pobl ynghyd i'r dyben i ymosod ar Nauvoo wedy'n, fel y canlyn. Cyhoeddodd *Sharp* drwy ei gyhoeddiad fod "*Wolf hunt*" i fod ar ddydd nodedig, gan wahodd pawb i ddyfod yno dan lawn arfau; a'r hyn a rwystrodd eu hamcan gwaedlyd oedd i'r llywydd *Ford* ddeall eu dyben ac anfon milwyr i'w gwasgaru. Wedi hyny crynhoisant gerllaw Warsaw dan lywyddiaeth Col. Williams, (gelyn creulon i'r Saint), tuag 800 neu 900 o honynt, pa rai a ddechreuasant ar hen weithredoedd Missouri, sef llosgi tai ydlanoedd, ac eiddo y Saint. Parhausant i wneuthur hyn drwy'r cylchoedd hyny, gan losgi tai uwch penau rhai gwragedd a phlant ag oeddynt yn glaf yn eu gwelyau ar y pryd, heb roddi iddynt unrhyw rybudd, ond eu llusgo i'r caeau, a'u gadael yno. Yspeilient eu tai o'r pethau a fynent, gan yru eu hanifeiliaid gyda hwy. Fel hyn cawsant lonydd i fyned yn mlaen yn ddirwystr am dros ddeg niwrnod, canys gommeddai y *militia* droi allan ar gais y sheriff *(Backinstoss)* i wasgaru y dyhirod nes y deallodd mai y *militia* oedd yr euogion. Erbyn hyn yr oeddynt wedi llosgi dros ddau cant o dai, ac achosi miloedd lawer o *ddollars* o golled, heblaw y bywydau gwerthfawr a

aberthwyd ganddynt. O'r diwedd gwysiodd Sheriff y swydd *filitia* Nauvoo, o dan ei lywodraeth ef, i amddiffyn tai a meddiannau y dinasyddion, pa rai a yrasant yr holl derfysgwyr ar ffo y frwydr gyntaf, gan adael amryw o'u nifer yn farw ar y maes; a gyrasant ar eu hol hyd Carthage, ac oddiyno hyd Warsaw, a hwy a ffoisant dros afon Mississippi i dalaeth Missouri; ac felly adferwyd heddwch am ysbaid bach. Etto ni pheidiodd Sharp, Williams, Cadb. Smith, ac ereill, â briweddu ystorm yn erbyn Nauvoo er hyny, yr hon yn yr hydref canlynol a ymarllwysodd yn fwy dinystriol a diddysgwyl nag o'r blaen. Crynhoisant oddiamgylch Nauvoo wrth y miloedd, gyda phenderfyniad, yr hyn a broffesent yn gyhoeddus, ac a osodent ar eu banerau, "nad oedd dim llai a'u boddiau hwy nâ naill ai alltudiaeth hollol a diammodol yr holl Saint, fychain a mawrion, gwrryw a benyw, cyn pen y pump diwrnod, i blith bwystfilod ac anwariaid yr anialwch gorllewinol, neu gael eu lladd yn ddiarbed, a llosgi eu tai, a'u dinas, uwch eu penau, os gwrthodent fyned." Penderfynodd y Saint i amddiffyn eu hunain, yn hytrach nag ufyddhau i'r naill ammod nâ'r llall; ac felly bu brwydro poeth o bob tu am amryw ddyddiau ar ororau y ddinas. Lladdwyd llawer o'r terfysgwyr, ac yn mhlith ereill o'u penaethiaid, lladdwyd y Cadb. Smith (hwnw oedd ar y "*Carthage Grays*," sef y Smith hwnw a ddechreuodd y terfysg, ac a wysiodd y warant gyntaf hono ar Joseph Smith, a'r hwn a eisteddai yn farnwr arno yn Carthage). Tri yn unig a laddwyd o'r Saint. T. Sharp, a Col. Williams, oedd yn blaenori yn yr ymosodiad hwn hefyd. Ac fel yr oeddynt yn cysgu un noson yn eu gwersyll, gan aros am oleu dydd i ymosod ar y ddinas drachefn, dychrynwyd hwynt gan ryw gynhwrf fel trwst byddin fawr yn dyfod drwy'r coed; y mwyrif o honynt a godasant eu pebyll ar eu ceffylau, ac a ffoisant mewn ffrwst a dychryn mawr tua Carthage, a'r gweddill o'u byddin a gychwynasant ar eu hol cyn toriad y dydd, gan feddwl mai y Saint oedd yn eu hymlid. Erbyn i'r dydd wawrio, ac i'r dosparth olaf gyrhaedd y gweirgloddiau oedd tua 10 milltir yn wastad o'u blaen, gwelwyd hwy gan y rhai blaenaf, pa rai a'u camgymmerasant am y Mormoniaid fyth yn gyru ar eu hol hwy; ac felly ffoisant gan ofn eu gilydd, heb neb yn eu herlid heblaw eu cydwybodau eu hunain, a gyr o wartheg y dref, pa rai mewn dychryn a ffoisant drwy'r coed heibio eu gwersyll!!

Yn mhen ychydig ddyddiau ymgasglodd y terfysglu yn lluosocach fyth o amgylch Nauvoo. Gommeddodd y llywodraeth roddi un amddiffyniad i'r Saint; ond amryw o'r seneddwyr, ynghyd â dirprwywyr oddiwrth y llywydd Ford, a berswadiasant y Saint i fyned ymaith, a gadael eu gwlad, a'u holl feddiannau, i ddwylaw eu herlidwyr, oherwydd dywedent, "eu bod yn rhy luosog i'r Saint allu amddiffyn eu hunain," ac nid oedd help iddynt gael gan y llywodraeth!! Addefasant yn gyhoeddus, nad oedd dim bai ar y Saint; ond etto y dymunent hwy iddynt gymmeradwyo y cynnyg o alltudiaeth er mwyn heddwch! Da fuasai genyf roi eu llythyrau ar lawr yn gyflawn, fel y gallasai y darllenydd ffurfio ei farn ei hun am yr ormes greulon hon, pe buasai le; ond, mae fy nherfynau yn fy ngorfodi i gwtogi, oherwydd fod y traethawd hwn wedi chwyddo yn fwy o lawer nag y bwriedais ar y dechreu, er nad yw etto yn cynnwys yr holl hanesion difyrus a berthyna i Formoniaeth o lawer. Ond, at yr hanes. Cydunwyd ar yr ammodau heddwch rhwng y pleidiau, drwy fod i'r Saint gael goddefiad i aros yno hyd yr haf canlynol,

neu hyd oni fyddai porfa wedi tyfu er cynnal eu hanifeiliaid i drafaelio. Addawodd y terfysgwyr lonyddwch i'r Saint i ymbarotoi i'w halltudiaeth; ond, fel pob addewid a ellid ddysgwyl gan y fath greuloniaid anwar, nid hir y buont cyn ei threseddu. Parhausant i aflonyddu hyd y gallent, gan ddwyn achwynion disail yn erbyn rhyw rai o flaenoriaid y Saint, fel y gallent eu llusgo tua chigyddfa Carthage fyth cyn eu myned; canys ni adawent iddynt lonydd i fyned ymaith yn fyw ychwaith; ac wedi methu bob ffordd arall i gael gafael ar yr Apostolion, cytunasant â'u gilydd i ymfyddino erbyn amser mynediad y Saint i'r anialwch yn ddigon lliosog i'w lladd hwy yno. Ond y tro hwn yn ychwanegol gwaredodd yr Arglwydd grasol ei blant o law eu gelynion creulon, trwy iddynt ddod i wybod dichell y terfysglu, a chychwyn gyda thua mil o wyr detholedig amryw wythnosau cyn yr amser gosodedig, a thrafaelio yn mlaen i'r gorllewin anial, nes cyrhaedd o dan nodded ac amddiffyniad tirionach yr Indiaid anwar, cyn i'w herlidwyr "*cristionogol*" (*alias*, sectyddol) eu goddiweddyd. Dyoddefasant lawer o oerni a chaledi, ac o eisieu bwyd, yn ddiau, canys yr oedd yr eira yn ddwfn ar y ddaear y pryd hyny. Wedi cyrhaedd i blith y *Pottowattamies* Indiaid, gwersyllasant, a dechreuasant adeiladu tai coed, a llafurio y ddaear; a phan y daeth yn dymmor hau, rhoisant yd yn y tir, gan adael rhai yno i'w wylied erbyn y deuai gwersyll arall o'u brodyr y ffordd hòno ar eu hol, ac yna aethant yn mlaen tua California, canys yno yr oedd eu tynfa.

Yn mis Mehefin aeth gwersyll arall, yn cynnwys tua 5000, ar eu hol; a chyn diwedd yr haf gwersyll arall wed'yn, o tua'r un nifer, a gychwynasant ar hyd yr un llwybrau; ac fel yr arosai y naill wersyll am dymmor i orphwyso eu hanifeiliaid, adeiladent dai coed, a dodent gnydau yn y ddaear, er darparu lluniaeth i'r rhai a ddeuai ar eu hol.

Yn Nauvoo, yr oeddynt wedi gadael eu meddiannau yn nwylaw *committee* o bump, i'w gwerthu oreu a allent. Yr oedd amryw arianwyr o'r taleithiau ereill wedi clywed fod yn rhaid i'r Saint ymadael oddiyno, wedi dyfod yno i brynu eu tai, a'u tiroedd, &c., gan eu dysgwyl am eu pris eu hunain wrth gwrs; ac i'r rhai hyn y gwerthodd y mwyrif o'r Saint, neu yn hytrach y rhoisant y meddiannau na allent gymmeryd gyda hwynt i'w taith. Yr oedd y Saint drwy'r holl daleithiau, â'r Canadas, yn darparu yn unfrydol braidd i ymfudo ymaith gyda'u brodyr alltudiedig, cyn gynted ag a gallent drefnu eu hamgylchiadau. Yn Ionawr, 1846, cychwynodd tua 200 neu 300 o Gaerefrog Newydd, mewn llong oddiamgylch Cape Horn, i'r *Bay of St. Francisco* yn *California*, lle y cyrhaeddasant yn ddiogel wedi mordaith gysurus. Darparai miloedd ereill i hwylio yr un ffordd o'r porthladdoedd dwyreiniol ereill yn fuan ar eu hol.

Yr oedd yr holl Saint oddieithr 200 neu 300 wedi ymadael o Nauvoo, pa rai oeddynt gan mwyaf yn analluog i ganlyn eu brodyr i'r anialwch oddieithr iddynt gael gwerthiant ar eu heiddo, fel y prynent gerti neu bedrolfeni, ac anifeiliaid, i'w cludo. Yr oedd llawer o bobl o'r taleithiau dwyreiniol gan mwyaf, pa rai a brynasent eiddo y Saint, wedi ymfudo i Nauvoo i'w meddiannu, pa rai a elwid "y dinasyddion newydd." Enynodd cenfigen yr hen derfysgwyr yn erbyn y rhai hyn hefyd, ac nid oedd esgusion yn eisiau er eu cyhuddo hwythau o gyffelyb feiau, os nad gwaeth, nag eiddo y Mormoniaid; ac nid rhyfedd hyn yn ngolwg neb a'u hadwaenai hwynt, canys wrth fod ereill yn prynu ac yn meddiannu

eiddo y Saint, yr oedd y terfysgwyr yn colli y wobr fawr a ddysgwyliasent am eu holl ddiwydrwydd, eu llafur caled, a'u herlidigaethau anorphen, sef cael meddiannu y cyfan o'r ddinas, a'r ffermydd, a'r cyfan o'r wlad oddiamgylch, heb dalu dim am danynt. Er mor rhyfedd y swnia y dull hyn o ymgyfoethogi yn nghlustiau y Cymry, nid peth dyeithr ydoedd i'r bobl hyny, canys annogwyd hwy i hyn drwy esiamplau y Missouriaid yn tawel fwynhau holl diroedd ac eiddo y Saint wedi eu halltudio yn gyffelyb dair neu bedair gwaith yn y dalaeth hòno; ac, hyd heddyw ni chynnygiodd y llywodraeth, na neb arall, ddwyn eu gorthrymwyr i brawf, nac adferu y Saint i'w hiawnderau. Ac felly yr amcanai y terfysglu hyn feddiannu Nauvoo yn ysglyfaeth rhyfel hunan-ymgynhyrfiol. Pan gawsant eu siomi drwy ddyfodiad y "dinasyddion newydd," yn y fan troisant at eu hen gynlluniau llwyddiannus, sef cyffroi y werin i'w herbyn gyda rhyw gamgyhuddiadau gwarthus, a'u dangos yn bobl beryglus i'w hachos hwy; ac felly llwyddasant etto i gasglu tyrfa fawr o wyr arfog, ac a ymosodasant ar Nauvoo. Yr oedd ganddynt bob manteision ar y ddinas, oherwydd na feddai y dinasyddion nemawr o arfau, pan yr oedd y terfysglu trwy frad wedi cael gafael ar holl fagnelau ac arfau y dalaeth, pa rai a ymddiriedasid i'r milisia. Er hyn oll, ac er fod y terfysglu yn agos i ddeg am un o'r dinasyddion a'r Saint, pa rai a unasant â'u gilydd i amddiffyn eu hunain yn eu cartrefi; yr hyn a wnaethant yn wrol iawn am dri diwrnod o frwydro caled; ond y pedwerydd dydd gadawodd y "dinasyddion" y Saint eu hunain, ac er hyny hefyd ni allai y terfysglu ddyfod i'r ddinas hyd nes i ryw nifer o swyddogion gwladol ddyfod yno a pherswadio y Saint, neu yn hytrach orchymyn iddynt, "beidio ag amddiffyn eu hunain yn hwy, rhag (meddent hwy) tywallt ychwaneg o waed." Deallwyd fod y personau hyn yn swyddwyr milwraidd, wedi cael gorchymyn gan y llywydd Ford i gasglu digon o filisia i amddiffyn y ddinas a gwasgaru y terfysglu, ond yn lle hyny hwy a ddaethant yno eu hunain heb eu milisia, naill ai am na allent, neu am na ddewisent eu cyrchu; siomwyd hwy yn eu dysgwyliad i'r terfysglu wrando ar eu llais, canys ni wnaent ond eu gwawdio. Y Saint o'r ochr arall yn foddlon ac yn ufydd bob amser i bob gorchymyn a broffesai ddyfod gyda rhyw liw neu ymddangosiad o awdurdod wladol a ufyddhasant iddynt hwy, ac a ffoisant dros afon y Mississippi i diriogaeth Iowa, ar frys mawr, heb gael amser i fyned a nemawr ddim o'u celfi, na'u dillad, nac ymborth na darpar aeth arall braidd gyda hwynt cyn fod y terfysgwyr yn carlamu drwy heolydd y ddinas ddetholedig dan waeddi ac wban mewn ymffrost o'u buddugoliaeth.

Gorfuwyd y "dinasyddion newydd" hefyd i ffoi yn ddiammodol gan adael hyd y nod y meddiannau a brynasent mor ddiweddar, yn nwylaw y terfysglu wedi'r cwbl; pa rai a wleddent ar yr ysglyfaeth yn wancus, gan ymroi i feddwdod a phob mwyniant a borthai eu blysiau annynol; ac y maent yn parhau i fwynhau y rhan fwyaf o'r ddinas a'r cylchoedd yn ddirwystr hyd heddyw!! Gwelir oddiwrth hyn nad ar y Saint, ond ar eu cymmydogion aflonydd yr oedd y bai am y terfysgoedd a'r rhyfeloedd parhaus a fu i'w herbyn, ac fel pe yn bwrpasol i brofi hyn yn amlwg i bawb, goddefodd rhagluniaeth i'r "dinasyddion newydd" gael treial o fyw gyda'r terfysgwyr, a'r canlyniad a fu, fel y

bu, ac y hydd i bob dynion a ddewisant fyw yn onest a heddychol, yn hytrach nag ymuno â hwynt; sef, cwympo yn ysglyfaeth digymmorth i'w gelyniaeth eiddigeddus hwynt.

Gan fod rhyw hanesion fel hyn yn ymddangos braidd yn anhygoel yn yr oes hon, gan eu bod yn deilwng o'u croniclo yn mhlith gorchestion yr oes, a chan ein bod yn feddiannol ar hanes gywir o'r alltudiaeth olaf a chreulonaf hon, ynghyd â'r erthyglau y gorfodwyd y dyod lefyddion i'w ardystio er achub eu bywyd, rhoddwn hwynt o flaen y darllenydd yn ngeiriau boneddwr ag oedd yn un o'r *committee.*

" Byddai desgrifio yr holl olygfeydd dyoddefus ag y gorfuwyd pobl y ddinas hon (sef Nauvoo) i fyned trwyddynt er pan ymadawsoch chwi, yn ormod gorchwyl i'w wneyd mewn un llythyr; yn unig digonol yw hysbysu ddarfod i'r terfysglu ymgasglu i'n herbyn drachefn, yn fuan wedi eich ymadawiad chwi; parhausant i luosogi hyd nes oeddynt dros 1500 o wyr arfog, a thua 200 o *baggage waggons,* gyda phregethwyr sectyddol i bregethu iddynt yn gysson, ac areithwyr crefyddol i berswadio y terfysgwyr creulon hyn eu bod yn gwasanaethu Duw drwy ein herlid a'n lladd ni, ein yspeilio o'n meddiannau, llosgi ein tai uwch ein penau, a'n halltudio ni oll o'n gwlad oherwydd ein crefydd yn unig! Ie, pregethwr selog gyda y Campbelliaid oedd eu prif flaenor, o'r enw Thomas S. Brockman.

"Pan wersyllai y terfysglu yn Carthage, ymdrechodd Col. Singleton, a Major Parker, pa rai a anfonodd y llywydd Ford i Nauvoo gydag osgordd o ddeg o ddynion i'w hamddiffyn, i wneuthur heddwch rhwng y pleidiau, drwy awdurdod y llywydd.

Ammodau creulon iawn a osododd Col. Singleton ar y Saint, pa rai oedd yn eu gorfodi i adael y dalaeth yn mhen 60 niwrnod! Ond, er mor galed oeddynt, pan y cynnygiwyd hwy i'r terfysglu, gwrthodasant hwynt yn unfrydol, yr hyn a achosodd i Singleton ac amryw o flaenoriaid y terfysglu ymadael, gan eu bod hwy yn rhy greulon iddynt hwy allu eu canlyn; a hwy a gyhoeddasant eu hymadawiad yn y newyddiaduron, ac hefyd fod y Mormoniaid wedi cyduno i gymmaint, os nad i fwy nag a allai dynoliaeth ofyn ganddynt. Yn y fan gosododd y terfysgwyr Brockman yn flaenor, a'r dydd canlynol marchogasant tua Nauvoo, lle y cyrhaeddasant ar foreu y 10 o fis Medi, ac a wersyllasant ar '*farm Hunter.*' Yn y cyfamser, yn lle fod milwyr yn dyfod oddiwrth y llywydd i amddiffyn bywydau, ymwelodd Major Flood, o Quincy, gyda John Wood, Ysw., Maer Quincy, Dr. Conyers, a Mr. Joel Rice, â gwersyll y terfysgwyr, mewn gobaith o'u troi oddiwrth eu hamcanion llofruddiog, ond fe'u siomwyd yn hollol; canys yn lle hyny saethodd y terfysgwyr beleni o'u magnelau ar ol y boneddigion hyn pan oeddynt yn dychwelyd oddiwrthynt tua Nauvoo. Y dydd canlynol nesasant eu gwersyll tua'r ddinas, gan saethu *grape shot,* a pheleni o'u magnelau yn gawodydd tua'r ddinas drwy'r dydd. Gwrthwynebwyd hwy rhag dyfod i'r ddinas gan ein un fagnel gartrefol (yr hon a wnaed o ddarn o *shaft* hen agerfad). Y dydd canlynol dechreuasant frwydro tuag un o'r gloch prydnawn, yr hon a barhaodd ond am awr ac ugain mynyd yn unig, cyn y gorchfygwyd hwynt yn wyrthiol braidd gan tua 150 o'r Saint. Ni wyddis pa nifer a laddwyd o'r terfysgwyr, ond addefasant fod un, a deuddeg wedi eu clwyfo.

"Pan oodd pethau yn y cyflwr hwn, tirioedd *committee* o Quincy, pa rai a lwyddasant i ddwyn y terfysgwyr i ryw ammodau heb dywallt ychwaneg o waed, er eu bod yn ormesol iawn ar y Saint druain yn ol eu hammodau, fel y gwelir wrth a ganlyn; etto yn waeth nag hyd y nod yr ammodau yna, gorfuwyd hwynt i ddianc dros yr afon Mississippi yn ddioed, er achub eu heinioes. Am y mis canlynol arosodd Mr. Fulmer a minnau yma, a'r terfysgwyr mewn meddiant hollol o'r ddinas; yr oedd Mr. A. Babbitt wedi myned i ymweled a'r gwersyll gorllewinol. Ac O! y fath olygfeydd annuwiol, gobeithiaf na weiaf byth etto Chwilid ein tai yn fanwl, ac yn aml yn hollol groes i'w haddewid, dan yr esgus o ymofyn arfau, neu Formoniaid yn ymguddio. Er y pryd hyny llwyddodd rhai o'r 'dinasyddion newydd' i godi y llywydd Ford oddiar ei nyth, ac efe a ddaeth yma gydag osgordd i gadw heddwch wedi i'r holl Saint gael eu halltudio, ïe, i gadw y terfysgwyr mewn meddiant heddychlon o'u hysglyfaeth y daeth efe. Ond chwarddodd y terfysgwyr am ei ben, ac a'i gwawdiasant yn mhob dull dirmygus a allent; a'u gwragedd hwynt gydag ymddangosiad mawreddig iawn a anrhegasant y llywydd â phais i'w gwisgo fel dangosiad o'u cydnabyddiaeth hwynt o'i wroldeb.

"Tystia y llywydd French, yr hwn sydd yn awr yn dal swydd Ford, na chaiff terfysglu lywodraethu yn nhalaeth Illinois yn hwy.

"A ganlyn yw'r *copy* o'r ammodau a wnaed yr amser cyfeiriedig uchod

"'Erthyglau cydymffurfiad neu ammodau heddwch, pa rai a wnaethpwyd, ac yr ymrwymwyd i'w cadw ar yr unfed dydd ar bymtheg o fis Medi, 1846, rhwng Almond W. Babbitt, Joseph L. Heywood, a John S. Fulmer, *trustees* eglwys Saint y Dyddiau Diweddaf o'r blaid gyntaf, a Thomas S. Brockman, llywydd y *posse*, a John Carlin, *constable* neillduol *posse* Hancock o'r ail blaid, ac Andrew Johnson, cymmedrolwr dinasyddion Quincy o'r drydedd blaid:—

"'1. Fod dinas Nauvoo i *surendro*. Fod plaid Col. Brockman i feddiannu y ddinas y fory, sef yr 17eg, am dri o'r gloch prydnawn. [Nid oes yma un esgus paham y rhaid i'r truciniaid ereill adael i ddieithriaid anwar fel y rha'in gael meddiant o'u tai, a'u dinas hardd! Nac oes, dim pryniad na gwerthiad o honi, ond rhaid i'r terfysglu gael y peth! ai cael g fael ar ryw ddrwg weithredwyr yn y ddinas i'w arholi o flaen llys gwladol? O! nage, nage, ond rhaid, ebe y pregethwyr, a'r crefyddwyr hyn, iddynt hwy gael holl feddiannau eu cymmydogion heb dalu dim iddynt, serch eu lladd i'r dyben hyny, a'r cwbl oherwydd eu bod yn meiddio addoli Duw yn ol eu cydwybodau, yn eu gwlad rydd eu hunain!!]

"'2. Eu bod i roddi eu holl arfau i feddiant y *committee*, i'w hadferyd yn ol iddynt wedi y croesant yr afon.

"'3. Fod *committee* Quincy yn ymrwymo eu dylanwad o blaid heddwch; ac fod blaenoriaid a phobl y gwersyll yn addaw arbed bywydau hyd yr amser uchod.

"'4. Fod yr amddifaid a'r cleifion i gael amddiffyniad, [ond sylwer oddiwrth yr hanesion canlynol fath nodded a thriniaeth a gawsant; dywedir i amryw farw o eisieu, a'r erlidwyr hyn yn eu gwawdio ar y pryd!]

"'5. Fod yr holl Formoniaid i adael eu Mormoniaeth, neu adael y dalaeth cyn gynted ag y gallant groesi yr afon Mississippi. [Dyma addefiad amlwg nad at y Mormoniaid yr oedd eu cenfigen, ond yn unig oherwydd Mormoniaeth! Ie, amlwg yw mai erlidigaeth grefyddol, er dan amryw esgusion sydd wedi parhau i huntio y dyoddefyddion hyn o gwr bwy gilydd i'r cyfandir, braidd am flynyddau, ac achosi iddynt ddyoddef mwy nag a ddichon dyn draethu.]

"'6. Fod caniatad i *committee* o bump o ddynion, yn cynnwys *trustees* yr eglwys, a phump o ysgrifenwyr, a'u teuluoedd (ond nad yw Mr. Pickett i fod yn un o honynt), i gael aros yn y ddinas i werthu eiddo y lleill.

"'7. Fod creulonderau i beidio yn ddioed, a bod deg o'r *committee* i fyned i'r ddinas i'w meddiannu dros y lleill cyn gynted ag y mynont." *Yma canlyna restr o'u henwau.*

"Ar y 9fed o Hydref, pan y dychwelodd ein pedrolfeni i lan y Mississippi, ar gyfer Nauvoo, cawsant y gweddill o'r Saint yn gorwedd ar lan yr afon, heb dai, gwelyau, celfi, bwyd, dillad, na dim; ond yr oedd newynu i farwolaeth yn syllu yn eu gwyneban! Yr oeddynt wedi cael eu halltudio gan y *mobs* o'r ddinas yn ddiarbed, dirybudd, a didrugaredd, heblaw fod llawer o dan glefydau a heintiau y wlad hono ar y pryd. Nid oedd ganddynt ddim i fyw yno, na dim i gychwyn eu taith. Pan yn yr amgylchiad cyfyng hwn, troisant at yr Arglwydd, ac efe a anfonodd lu mawr o soflieir *(quails)*, y rhai a ddisgynasant yn eu plith, ar eu gorwedd leoedd ac wrth eu traed, hyd nes yr oedd y cleifion a phawb yn eu dala â'u dwylaw, nes eu digoni; felly hulid eu byrddau o gig, foreu a hwyr. Nid y Saint yn unig a welodd hyn, ond y byd hefyd. Yr oedd ager-fâd yn myned heibio o fewn chwech rhwd iddynt, ac a'u gwelsant, a rhyfeddodd y teithwyr oedd arni yn fawr iawn; ereill ar y lan (heblaw y Saint) a ryfeddasant pan welsant y fath ryfeddod; ond rhyfeddach etto, fod yr adar hyny wedi dilyn y Saint hyd y ffordd pan gychwynasant eu taith, gan ddisgyn a eu pedrolfeni, ac o dan eu traed, gan gynnyg eu hunain yn aberthau gwirfoddol i achub bywydau y Saint dan ormes eu herlidwyr. Traether hyn i genedloedd y byd! Dyweder wrth freninoedd a phenaethiaid!! Hysbyser hyn i'r rhai a broffesant gredu ddarfod i Dduw ddwyn Israel drwy'r anialwch yn nyddiau Moses, fel y credont hefyd fod Duw yn y dyddiau hyn, a'i fod mor anwyl o'i blant yn awr â'r pryd hyny; *a'i fod ef yn eu porthi etto pan y mae gormes y gelyn yn annyoddefol.* Efe yw Duw yr holl ddaear; o'i flaen y plyga pob glin, a phob tafod a gyffesa i enw Iesu Grist."—*(Allan o'r "Millenial Star.")*

## PENNOD XXVII.

## Y WASG AMERICANAIDD YN TROI O BLAID Y SAINT.

"Mae rhyw gyffroad a chydymdeimlad rhyfedd yn ennill tir o blaid y Mormoniaid, drwy ein gwlad. Creodd neillduolrwydd eu daliadau, tarddiad rhyfedd eu ffydd, a gwreiddioldeb y personau a ddewiswyd yn brophwydi, ac yn llywyddion iddynt, ynghyd â'r llyfrau, &c., a gyhoeddwyd i'w herbyn, ddylanwad ar boblogrwydd yr oes i'w herbyn

am flynyddau. Desgrifid hwynt fel yn ddiysgog mewn arferiadau gwarthus, ac y mae yn rhyfeddod fawr na wrthwynebodd y Mormoniaid nemawr ar y cyhuddiadau hyny [do, meddwn ni, canys gwyddom iddynt wneyd a allent i hyny, a gwyddom hefyd mai tra y byddai y gwir yn goleu ei fatchen, y rhoddai celwydd y byd yn wentfiam, ac y tetlid ein hamddiffyniadau ninnau yno; nid i golofnau y newyddion, ond fel yn Nghymru, i'r tu ol i'r tân heb eu darllen]. Pan ruthrodd terfysglu creulon i garchar Carthage, a lladd Joe Smith, a'i frawd Hyrum, tarawodd y weithred ysgeler y wlad â syndod am yspaid, ond anghofiwyd hyny yn fuan. Wedi hyny crynhöodd terfysglu yn nhalaeth Illinois, dan yr enw Gwrth Formoniaid, i'r dyben o'u halltudio o'u gwlad, a'u gorfodi i adael eu tyddynod, eu tai, a'u holl feddiannau, ynghyd â'r deml gostfawr a adeiladasant, yn ysglyfaeth i'w herlidwyr. I'r dyben hyn crynhoisant eu magnelau, a'u harfau rhyfel yn erbyn Nauvoo. Tynodd sefyllfa y Mormoniaid sylw taleithiau ereill; ond gan na roddodd Illinois, eu talaeth eu hunain, un cynnorthwy nac amddiffyniad iddynt, ond yn hytrach cymmeradwyo trais yr erlidwyr, credid fod eu cymmeriad mor ddrwg ag i deilyngu y driniaeth a gawsant, a'u halltudiaeth i chwilio am drigfan yn rhyw wlad arall. [Pa ddrygioni a allasent gyflawni er teilyngu alltudiaeth o werin lywodraeth, tybied?] Amddiffynodd y Mormoniaid eu cartrefleoedd oreu a allent, hyd nes eu gorthrechwyd gan amlder y terfysgwyr, a'r dalaeth yn eu herbyn, a phoblogrwydd y wlad; a phan nad oedd iddynt gymhorth, nac amddiffyniad o un man, dywedasant, 'Nyni a awn,' a hwy a aethant i'r anialwch, yn wyr, gwragedd, a phlant; rhai ar draed, rhai mewn pedrolfeni, a chyda hwynt y gweddill o'u celfi, a gadael eu cartrefleoedd, a ffoi i'r anialwch. Ymunodd rhai [500] a'r fyddin oedd yn myned i California, a rhan arall a aethant i'r gorllewin i afon Mississippi. Ac fel hyn gyrwyd 12,000, neu 15,000 o bobl, o sefyllfa gysurus a llwyddiannus o'u cartrefleoedd i orwedd ar lanau afonydd afiachus, neu i ymdaro oreu a allent ag anwariaid a bwystfilod, ar hyd *prairies* eang y gorllewin. Ond erbyn hyn ymddengys yn ddigon eglur oddiwrth dystiolaethau amrywiol sydd yn deilwng o'n credinineth—rhai ydynt yn adnabyddus o'r Mormoniaid, wedi sylwi yn fanwl, a threiddio i'w bucheddau a'u hymddygiadau, fod y bobl anffortunus hyny wedi dyoddef anghyfiawnder mawr drwy gael eu gormesu felly, eu hyspeilio, a'u gadael yn hollol ddiamddiffyn gan dalaeth annibynol, yr hon oedd wedi ymrwymo i'w hamddiffyn yn eu hiawnderau. Tystia y diweddar Cadben Allen o'r *U. S. Dragoons*, yr hwn oedd ganddo 500 o'r Saint yn ei fyddin, eu bod hwy oll, nid yn unig yn ysbrydol a dewr, yn bobl ddaionus a ffyddlon, ond desgrifia hwynt yn rhyfeddol o bur a dieithriad mewn moesoldeb, yn gynil, gofalus, diwyd, a hunan ymwadol, ac yn dangos amynedd dewrwych mewn dyoddefiadau, teilwng o'r goreu o gymmeriad Cristionogol. Etto, ysgrifena un o ohebwyr teilyngaf yr '*U. S. Gazette*,' yr hwn a fu yn cyd-deithio, ac yn byw yn mhlith y Mormoniaid, fod diweirdeb, rhinwedd, a chariad, ynghyd ag ysbryd undeb, ac ymdrech at ddedwyddwch teuluaidd, yn cyfansoddi nodweddau pendant yn nghymmeriad y bobl wrthodedig hyn, yn ogystal â'u cymmedroldeb, trefneiddiwch, diwydrwydd, gwroldeb, a phenderfyniad diysgog am wrthrychau eu serch. Os felly, y

mae geiriau yn analluog i ddesgrifio yr anghyfiawnder a'r creulonderau digyffelyb a ddyoddefasant yn nhalaeth Illinois. Gellir esgusodi y creulonderau a ddyoddefodd y Goths a'r Vandals, i raddau, ac am erlidigaethau yr oesoedd tywyll: ond fod gwlad rydd fel America yn y dyddiau goleu hyn yn mhlith ei holl sefydliadau i sicrhau rhyddid i'w deiliaid, yn alltudio tua 15,000 [dros ddeg cymmaint] o'u deiliaid, heb eu profi yn euog o un trosedd, trwy rym arfau, o'u cartrefleoedd, a'u meddiannau, a bod braich gref y dalaeth heb ei hestyn i'w hamddiffyn, sydd waradwydd ar ein hanesiaeth a'n gwlad, a gymmerth flynyddoedd maith i'w olchi ymaith. Mae yn ddigyffelyb yn hanes ein gwlad. Ac nid hyn yw'r gwaethaf o'r hanes ychwaith; *terfysgoedd, meddwdod, a throseddiadau, yw canlyniadau buddugoliaeth y gwrth-Formoniaid!* Corff afreolaidd o bobl wedi treisio holl eiddo y Mormoniaid, meddiannu eu tyddynod, ac anurddo eu teml; y tylodion, y cleifion, a'r oedranus, fel y plant diniwaid, wedi eu gyru yn hanner newynog i'r goedwig, a'u holl amddiffynfeydd, a'u bywioliaeth, wedi eu handwyo a'u tori ymaith.

"Ar eirwiredd tystiolaethau cryfion am sefyllfa a chymmeriad y Mormoniaid, mae talaeth Illinois yn rhwym gan ei *honour* a'i chyfreithiau ei hun i adferyd y dyoddefwyr diniwed hyn i'w cartrefleoedd, eu meddiannau, a'u hiawnderau, a dylai y llywodraeth er mwyn cyfiawnder a dynoliaeth—er mwyn cymmeriad eu talaeth a'u sefydliadau, gyfarwyddo eu llywydd i gyhoeddi anerchiad i wahodd y Mormoniaid yn ol i'w cartrefleoedd, a sicrhau iddynt amddiffyniad rhag pob ymosodiad arnynt. Maent yn awr drwy anghyfiawnder y dalaeth yn marw o newyn ac oerfel yn yr anialwch; neu yn ysglyfaeth i'r anwariaid a'r bwystfilod. Mae lluoedd o honynt yn awr yn gorwedd ar y ddaear ar lan afon Mississippi, ar gyfer y ddinas a adeiladasant drwy ddiwydrwydd, ac yn awr yn gweled y cyfan yn meddiant y fath waethaf o ladron. Deffroed Illinois i'r gwaith da hwn cyn y byddo poblogrwydd yr holl wlad yn *demando* i'r Mormoniaid gyfiawnder am yr hyn a aeth heibio, ac amddiffyniad am yr amser dyfodol."—(Allan o'r *New York Sun.)*

Hybarch ddarllenydd, wrth ddiweddu yr hanesion rhyfedd hyn, tystia ein cydwybod ddarfod i ni roddi i chwi ddarluniad cywir o fywyd y dyn duwiol a chydwybodol hwnw, sef Joseph Smith, hyd hanes ei ferthyrdod creulon ef a'i frawd Hyrum, oherwydd eu hymlyniad wrth Formoniaeth. Dyma i chwi hanes yr efengyl dragwyddol wedi ei hardystio a'i sêlio â gwaed prophwydi ac apostolion duwiol etto, yn ein dyddiau ni. Yma hefyd y gwelwch hanes cannoedd o filoedd yn dewis alltudiaeth greulon yn hytrach nâ chael eu hamddifadu o gysuron Mormoniaeth. Pa le arall y gwelir y fath olygfa? Ac wedi ei myned yn rhy ddiweddar, dyma blant y byd, drwy'r wasg Americanaidd, yn dod i addef, fel yn y cynoesoedd, mai erlidigaeth ddiachos oedd y cyfan! Sylwch ar y cymmeriad a roddant i'r Saint yn awr; ac O, bydded golygyddion Cymru mor ddyngarol â'u hefelychu yn hyn fel y darfu iddynt yn yr ochr arall. Gwyddom fod y llyfr hwn yn teilyngu eich ystyriaeth ddwys, a'ch crediniaeth; a'n taer ddymuniad yw ar iddo fod yn ddefnyddiol i'ch dwyn i wybodaeth o'r gwirioneddau a gynnwysa drwy eich ufydd-dod i'r drefn a ddangosa. Amen.